*Welsh Drama Series, No. 53.*

# Y Ddraenen Wen

## (*DRAMA MEWN PEDAIR ACT*)

*Gan*

*R. G. BERRY, M.A.*

**Pris, 2/6.**



LONDON:
SAMUEL FRENCH, LTD., PUBLISHERS,
26, Southampton Street, Strand, W.C. 2.
NEW YORK:
SAMUEL FRENCH, INC., PUBLISHER,
25 West 45th Street.
SOLE AGENTS IN WALES:
THE EDUCATIONAL PUBLISHING CO., LTD.,
Trade Street, Cardiff.

# NEW LIST OF PLAYS AND DRAMAS

## IN ENGLISH AND WELSH.

1. HELYNT HEN AELWYD NEU HELBUL TAID A NAIN. (*R. Williams.*)
2. YR HEN GRYDD. (*J. Lloyd Jones.*)
3. THE VILLAGE WIZARD. (*Dr. Naunton Davies.*)
4. DEWIN Y PENTREF. (*Dr. Naunton Davies and Ifano Jones.*)
5. BEDDAU'R PROFFWYDI. (*W. J. Gruffydd.*)
7. RUTH. (*J. J. Williams.*)
8. ASGRE LAN. (*R. G. Berry.*)
9. AR Y GROESFFORDD. (*R. G. Berry.*)
10. THE POACHER. (*J. O. Francis.*)
12. THE BAKEHOUSE. (*J. O. Francis.*)
13. CHANGE. (*J. O. Francis.*)
14. NOSON O FARRUG. (*R. G. Berry.*)
15. Y PWYLLGOR. (*D. T. Davies.*)
16. YR HEN DEILIWR. (*J. Lloyd Jones.*)
17. THE GREAT EXPERIMENT. (*Dr. Naunton Davies and Stanley Drewitt.*)
18. THOSE WHO WAIT. (*E. Cove.*)
19. LLWYBRAU ANRHYDEDD. (*D. Derwenydd Morgan.*)
20. RYBECA. (*Gwili.*)
21. TEN SHORT ONE-ACT PLAYS (*Deg o Ddramodau Byrion.*) (*J. Ellis Williams.*)
22. YR HEN SCWLIN. (*J. Lloyd Jones.*)
23. DAFYDD AP GWILYM. (*Harry Evans.*)
24. PLANT Y PENTREF. (*Megfam.*)
25. "OWAIN GLYNDWR" SERIES.
27. HANNAH COMES ROUND. (*G. J. Griffith.*)
28. CASTELL MARTIN. (*D. T. Davies.*)
29. FFROIS. (*D. T. Davies.*)
30. THE SECOND SON. (*Dr. Naunton Davies.*)
31. THE EPIDEMIC. (*Dr. Naunton Davies.*)
32. A MONOLOGUE FOR ME. (*Dr. Naunton Davies.*)
33. THE CONVERSION. (*Dr. Naunton Davies.*)
34. THE SCHEMER. (*Dr. Naunton Davies.*
35. THE ARROGANCE OF POWER. (*Dr. Naunton Davies.*)
36. THE HUMAN FACTOR. (*Dr. Naunton Davies.*)
37. THE CRASH. (*Dr. Naunton Davies.*)
38. COLLI AC ENNILL. (*W. Bryn Davies.*)

---

*Copies and Licences for Public Performance should be obtained from and Manuscripts submitted to*

**The Educational Publishing Co., Ltd.,**
**Trade Street, Cardiff.**

**Sole Agents in Wales for Messrs. Samuel French, Ltd.**

*Welsh Drama Series, No. 53.*

# Y Ddraenen Wen

## (*DRAMA MEWN PEDAIR ACT*)

*Gan*

*R. G. BERRY, M.A.*

LONDON:
SAMUEL FRENCH. LTD., PUBLISHERS,
26, Southampton Street, Strand, W.C. 2.
NEW YORK:
SAMUEL FRENCH, INC., PUBLISHER,
25 West 45th Street.
SOLE AGENTS IN WALES:
THE EDUCATIONAL PUBLISHING CO., LTD.,
Trade Street, Cardiff.




*Rhaid cael caniatâd i chware'r ddrama hon. Anfoner ceisiadau at y Cyhoeddwyr.*

## CYMERIADAU.

---

| | |
|---|---|
| HARRI MEREDITH | |
| NAN - - - - - | Ei wraig |
| MABLI - - - - | Ei ferch |
| JANET - - - - | Ei fam |
| SYR TOMOS OWEN | Y cyn-aelod Seneddol |
| OLIFER - - - | Aelod Seneddol |
| KITTY - - - - - | Ei wraig |
| MYRDDIN HUWS | Newyddiadurwr o ddylanwad |
| MR. JONES-ROBERTS - | Gŵr mawr yn yr Etholaeth |
| MRS. JONES-ROBERTS - | Ei wraig |
| PERCHEN HOTEL | |
| DOCTOR | |
| MATRON | |

## GOLYGFEYDD.

---

ACT I: Ystafell mewn Hotel yng Nghymru.

ACT II: Ystafell yn nhy Meredith yn Llundain.

ACT III: Yr un ag Act I.

ACT IV: Ystafell mewn *Nursing Home* yn Llundain.

Rhyw bedair blynedd rhwng Act I a II, dau neu dri mis rhwng Act II a III, a chwe mis rhwng Act III a IV.

# Y DDRAENEN WEN.

## ACT I.

[*Ystafell gysurus mewn Hotel â French Window yn wynebu'r edrychwyr yn agor i'r balconi, a drws ar y dde.* SYR TOMOS *ar y balconi yn weledig i'r edrychwyr: y mae'n annerch yr etholwyr y tuallan ac yn diolch iddynt am ethol* HARRI MEREDITH. *Y* SYR *yw'r hen aelod a fu dros y rhanbarth am chwarter canrif, ond sydd erbyn hyn wedi ymddiswyddo. Y mae bywyd wedi ei galedu, ond edrychir ar* MEREDITH *fel un â digon o dalent ganddo i adael ei farc ar y wlad ond iddo chware ei gardiau'n ddeheuig. Yn gwrando wrth y ffenestr y mae* OLIFER, *aelod Seneddol Cymreig sy'n ffefryn mewn cylchoedd politicaidd, a'i wraig* KITTY; NAN, *gwraig* MEREDITH, *yn llawn uchelgais. Hefyd* MR. JONES-ROBERTS, *gŵr mawr yn yr etholaeth, ond, fel y greadigaeth faterol (os gwir y dybiaeth), wedi codi o ddim; a* MRS. JONES-ROBERTS, *ei wraig, o'r un dim. Y mae'r ddau wedi anghofio'r shop y gwnaethant eu harian ynddi, o leiaf nid yw ond atgof poenus, ond erys y shop o hyd yng nghof eu gelynion, ac nid yw eu cyfeillion chwaith yn anghofus ohoni. Wrth odre'r cwmni gwelir* MABLI *(oddeutu pymtheg oed), a* MYRDDIN HUWS *yn ysgrifennu wrth fwrdd ar ochr chwith yr ystafell—gŵr sydd â'i law a'i ddylanwad yn drwm ar y Wasg a'r blaid y perthyn iddi.*]

SYR TOMOS: Fel eich hen aelod, rwy'n diolch i chwi eto am ethol un o blant y Werin sydd hefyd yn gynnyrch diwylliant goreu'n gwlad, a phwy a ŵyr nad oes gennym yn Mr. Harri Meredith Owain Glyndŵr arall, ond Glyndŵr heb loyw arf ond ei gariad at ei wlad a'i athrylith i weini arni? Am y tro diweddaf, *three cheers* iddo ac hir oes i wasnaethu 'i genedl. (*Ar ôl y banllefain y tuallan a'r tufewn daw'r cwmni i'r ystafell. Eistedd* OLIFER *wrth yr un bwrdd a* MYRDDIN *a deil y ddau i ysgrifennu, ac â* NAN *a* MABLI *a* KITTY *allan.*)

MR. JONES-ROBERTS (*Staccato yn ei ddull o siarad a defnydd mynych o'r spectol aur i gyfleu ei feddwl*): Dyma goncwest nad anghofia'r blaid mohoni'n hir, Mr. Meredith—yn—hir; ac os ca i ddweyd—a'i ddweyd yn ostyngedig,—rwy'n cymryd tipyn o'r clod am dani.

MRS. JONES-ROBERTS: Nid yw wedi cysgu—noson o gysgu, wyddoch—ers tair wsnos.

SYR TOMOS (*wrth weld* HARRI'*n araf yn cyrchu'r sebon meddal*): Harri! (*yn gwrtais wrth* MR. *a* MRS. JONES-ROBERTS)—Mi faddeuwch i mi 'ch dau, ond Harri fydda i'n ei alw er yn hogyn.

MRS. JONES-ROBERTS (*yn rasol*): Wrth gwrs, fe allwn fforddio bod yn fwy *homely* mewn cwmpeini bach fel hyn nag ymysg dieithriaid.

SYR TOMOS (*ei glust yn merwino ond ei dafod yn llyfn*): Harri, bu Mr. a Mrs. Jones-Roberts

yn gefn i mi ac i'r blaid drwy'r blynyddoedd, a syn i mi (*fel cadno cyfrwys*) na fasa enw Mr. Jones-Roberts ar yr *Honours-list* ers llawer dydd.

MRS. JONES-ROBERTS (*yn ostyngedig*): Nid *stalwarts* y blaid, Mr. Meredith, sy'n cael eu cydnabod bob amser.

HARRI (*yn drwsgl*): Wel, wir, fûm i 'rioed yn meddwl dim o'r *honours* yma.

MRS. JONES-ROBERTS: *Oh, you musn't say that,* Mr. Meredith; "teilwng i'r gweithiwr"—rych yn cofio'r adnod.

SYR TOMOS (*yn ddifrif*): Dyna adnod i glensio'r ddadl.

MR. JONES-ROBERTS: Fel un y mae llwyddiant y blaid yn agos at ei galon—agos iawn os ca i ddweyd—(*dan ysgwyd ei ben*) wn i ddim a yw'r arweinwyr yn Llundain yn cofio hynny—ond mi fydda i wrth eich cefn tan y diwedd, Mr. Meredith. A phwy a ŵyr (*fel un yn disgwyl y fendith*)—Wel, dyna fo, yntê?

MRS. JONES-ROBERTS: Rwan, Mrs. Meredith—(*yn edrych o'i chylch a methu a'i gweld*). Petasa Mrs. Meredith yma, mi faswn yn dweyd wrthi—rwy'n un o'r *Veterans* bellach——

SYR TOMOS (*yn rhagrithiol*): *Veteran!* mewn dysg a profiad efallai, ond rydych yn edrych yn iengach heddiw——

MRS. JONES-ROBERTS (*yn llyncu'r cwbl*) : *O you flatterer*—ie, mi faswn yn dweyd wrth Mrs. Meredith, *Make it your duty to get Mr. Meredith to attend all the functions of the party in this Constituency*. (*Yn ddifrifol.*) O, mae hynny'n bwysig.

MR. JONES-ROBERTS : Mae Mrs. Jones-Roberts—os gweddus i ddyn siarad am ei wraig——

SYR TOMOS (*yn wlithog*) : Pwy ond y gŵr all siarad am wraig ei fynwes ?

MR. JONES-ROBERTS (*y spectol yn gweithio*) : *Exactly* : mae Mrs. Jones-Roberts yn deall y *ropes*. Mae'n bwysig i aelod seneddol atendio'r *functions*. *Keep in the eye of the public*, achos mae etholwyr weithiau'n anghofio hyd yn oed enw'r aelod.

SYR TOMOS (*yn neidio i'r adwy wrth weld* HARRI *mor fud gyda chelwydd noeth*) : Os dwedodd Harri unwaith y tair wsnos diweddaf mi ddwedodd ganwaith am yr help fuoch chwi'ch dau iddo. "Mae *tact* Mrs. Jones-Roberts," medde fo ddoe, "yn amhrisiadwy."

HARRI (*yn dwp*) : *Hold on*, Syr Tomos, ddwedais i mo'r fath beth.

SYR TOMOS (*yn ddigon dig i'w ladd yn y fan, ond yn gwenu*) : Harri, tasa gen i ddarn o gortyn yn spâr mi faswn yn gofyn iti fel ffafr bersonol i grogi dy hun rhag blaen. (*Yn troi at* MYRDDIN.) Myrddin mi glywsoch chi ——

MYRDDIN (*yn rhoi help llaw i'r celwydd*): Do, nen tad: coeliwch fi, Mrs. Jones-Roberts, mae parch Mr. Meredith at ŵr a gwraig yr *Hazels* yn ddi-ben-draw ond na fyn o mo'i ganmol yn ei wyneb.

MRS. JONES-ROBERTS (*yn frenhinol*): Rwan, Mr. Meredith—pan yn galw y yn Sir—a gobeithio y bydd hynny'n aml—*for the good old flag*—cofiwch fod ty agored yn yr *Hazels*, a chofiwch ddod ag *M.P.* neu ddau hefo chwi—(*gyda gwên*) yn enwedig y *stars*, yntê?

HARRI (*yn anesmwyth*): Mi gadwa hynny mewn cof. (*Daw* MABLI *a cherdyn iddo a gwêl yntau ddihangfa.*) Gwelaf fod f'eisiau islaw.

MRS. JONES-ROBERTS: Good-bye, a chofiwch fod yr *Hazels* yn agored bob amser. (*Y ddau'n siglo llaw ag ef.*)

MR. JONES-ROBERTS (*yn edrych o'i gylch yn bryderus*): Fe allwn drystio'n gilydd yma—ond—ydach chi ddim yn teimlo, Syr Tomos, fod rhywbeth yn ein haelod newydd—rhywbeth—— (*Y spectol yn awgrymu'r gweddill.*)

MRS. JONES-ROBERTS: Ymhle y buo fo yn y coleg—Oxford neu Cambridge?

SYR TOMOS: Prifysgol Cymru.

MRS. JONES-ROBERTS (*wrth y gŵr*): *I told you so.*

MR. JONES-ROBERTS (*yn ysgwyd ei ben mewn edmygedd*): Mae hi'n graff—craff, Syr Tomos——

MRS. JONES-ROBERTS: Mi wyddwn y tro cyntaf i mi siarad â Mr. Meredith fod rhywbeth— yn eisiau.

MR. JONES-ROBERTS: Do, mi ddwedodd y tro cyntaf fod rhywbeth——(*yn troi'r spectol ac wedyn yn gyfrinachol*). Dim o *touch* Oxford a Cambridge.

MRS. JONES-ROBERTS: Wedi'r cwbl, Syr Tomos, 'dyw Prifysgol Cymru ddim yn rhoi—*it doesn't give that something, you know.*

MR. JONES-ROBERTS: *Atmosphere,* Syr Tomos, *atmosphere.* Dyna pam rym ni sy'n medru fforddio, wyddoch, yn gyrru'n bechgyn i Loegr—*atmosphere.*

SYR TOMOS (*diniwed fel y sarff*): Ie, prifysgol i blant y werin——

MRS. JONES-ROBERTS: Cofiwch nid ym yn dweyd dim am y werin.

SYR TOMOS (*yn ddramatig*): Na, na wrth gwrs——mae'u fôts nhw——

MR. JONES-ROBERTS (*staccato*): Dyna'r *point.* Wel, *good-bye,* Syr Tomos—cymerwch Mr. Meredith mewn llaw a rhowch beth o'r——(*tro i'r spectol*).

SYR TOMOS (*yn ddifrifol*): Peth o'r *atmosphere.*

MR. JONES-ROBERTS: Perswadiwch o i sôn llai am yr hobis yma sydd ganddo—*international fellowship—political morality,* a mwy am motos y blaid——

SYR TOMOS (*yn ffug-frwdfrydig*) : Sydd wedi'u cerfio ar ein calon.

MR. JONES-ROBERTS : Mwy o chware hefyd ar y tant cenedlaethol.

SYR TOMOS (*yn ffug-gyffrous*) : Ie, oes y byd i'r iaith Gymraeg !

MRS. JONES-ROBERTS : *Good-bye,* Syr Tomos. Mi'ch gwelwn chi'ch dau heno.

MYRDDIN : Mi gofiwn ; mae Olifer a finnau fel arfer yn gwadnu a sodlu sgidiau'r blaid.

MRS. JONES-ROBERTS: Peidiwch ag anghofio'r *Hazels—not later than ten !* (*Y ddau yn mynd a'r* SYR *yn curo'r awyr â'i gadach poced yn enbyd.*)

MYRDDIN : Be sy'n bod ?

SYR TOMOS : *Atmosphere—atmosphere.* (*Dal i guro'r awyr.*) Rhaid cael gwared o'r ddau *atmosphere* yna.

OLIFER : Mae Myrddin a finnau'n gorfod cysgu yno heno.

SYR TOMOS : Fasa waeth gen i gysgu ar lwyn o gelyn, ond myn brain ! 'does dim *tact* yn Harri.

OLIFER : Fasa fo byth ar ben y pôl onibae am danom ni'n tri.

MYRDDIN : Wneiff o ddim ohoni yn y senedd efo'i lol am frawdoliaeth y cenhedloedd—*political morality* fy nain : chwi sy'n gyfrifol am i ni ei ddewis.

SYR TOMOS: Hogyn braf ydyw er hynny—thyfith o byth yn ddyn call fel ni'n tri.

HARRI (*yn dod i mewn*): A yw'r ddau yna wedi mynd?

SYR TOMOS (*yn deimladwy*): Roeddwn yn gobeithio dy fod wedi crogi dy hun.

MYRDDIN: Mi faddeuwch i ni fel hen ymladdwyr politicaidd, ond rhaid i chwi ddysgu dioddef ffyliaid, Meredith. Rhai fel y ddau yna sydd wrth yr ugeiniau ymhob plaid.

HARRI (*yn danllyd*): Mae snobs Cymru yma'n ddiweddar yn annioddefol—rhyw daclau o dwll tan y grât yn dynwared stumiau snobs o Saeson.

SYR TOMOS (*yn dringar*): Sebon, Harri, rhaid cael sebon ymhob cylch.

HARRI: Rwy'n ceisio bod o ddifri efo pawb.

SYR TOMOS: Nid bod o ddifri sy'n bwysig ond rhoi'r argraff dy fod o ddifri. Rwyf fi, er enghraifft, wedi palu celwyddau am chwarter canrif, ond rwy'n ddiolchgar na ches i rioed mo 'nal.

MYRDDIN (*fel clochydd*): "Yn awr y gollyngi dy was."

HARRI: Welwch chi, Syr Tomos, fe welodd rhywrai drwy'ch sebon a'ch——(*yn petruso*).

SYR TOMOS (*yn gynorthwyol:*) A'ch celwyddau. Do, efallai; ond mi lwyddais i gamarwain y mwyafrif—drwy help Myrddin a'r Wasg, a diolch am y Wasg!—hen sefydliad bendigedig yw'r Wasg i

amddiffyn celwydd bach gwan amddifad. (*Neb yn ateb.*) A dyweded yr holl newyddiadurwyr "Amen."

MYRDDIN (*yn casglu'i bapurau*): Mi ddyffeia i Harri Meredith na neb arall i ddweyd y gwir i gyd; fe âi'r senedd a phopeth yn dipiau mewn mis.

HARRI (*yn wresog*): Mi fydd yn anodd iawn f'argyhoeddi i fod yn rhaid dweyd anwiredd i helpu'r gwir hyd yn oed mewn politics.

SYR TOMOS (*yn ffug-bryderus*): Harri, Harri, does dim shâp politisian ar eiriau fel yna. Cymer gyngor gan wŷr o brofiad fel ni. Rhyw fath o lastig yw gwirionedd mewn politics—mi elli ei stretsio, wyddost (*yn dynwared yr oruchwyliaeth*).

MRS. OLIFER (*yn edrych drwy'r drws*): Olifer, rwy'n mynd i'r stesion efo Nan i gyfarfod â mam Meredith.

SYR TOMOS: Mi fydd yn drêt i'r hen dre fach hyll yma weld dwy mor hardd.

MRS. OLIFER: Nid bob dydd mae hi'n gweld dwy wraig i *M.P.*

SYR TOMOS: *Steady on!* dwy wraig i ddau M.P.—chaiff M.P. ddim ond un wraig ar unwaith, er gofid i rai o'r cnafon.

MRS. OLIFER: Chawsoch chi'r un.

SYR TOMOS: *Wrong* eto, chymerais i'r un, roedd digon i'w cael. (MRS. OLIFER *yn mynd.*)

MYRDDIN: Rwan Meredith—sylwn ni ddim ar goegni Syr Tomos, ond yn sicr i chi y mae llawer

gwir yn well o'i gelu ac mi welwch hynny'n fuan ym myd politics.

HARRI (*yn watwarus braidd*): Felly wir.

MYRDDIN: Yng nghanol berw politics y mae pob diwygiwr penboeth naill ai'n cael ei rewi allan o'r blaid neu ynteu'n troi'n bolitisian doeth.

HARRI (*yn watwarus*): "Call" yw'r gair goreu—politisian call.

OLIFER (*yn gorffen wrth y bwrdd a dod ymlaen*): Beth yw'r gwahaniaeth?

HARRI (*yn egniol*): Rôg cyfrwys, politisian call, diwygiwr doeth: cyfrwys i uffern, call i'ch oes, a doeth i'r oesoedd.

OLIFER: Call neu ddoeth, 'dall neb roi'r un cam ymlaen mewn busnes na pholitics heb gompromeisio rhyw gymaint.

HARRI (*yn danllyd*): Compromeisio—compromeisio, beth yn syml yw hynny?

SYR TOMOS: Yn syml dyna yw compromeisio—titotal sy'n cashau *ginger-beer* ond â blys cwrw arno yn torri'r ddadl drwy gymysgu'r ddau a gwneud yr hyn elwir yn shandigaff, a shandigaff o gelwydd a gwir yn gymysg yw busnes a pholitics y byd a'r oesoedd, a dyna fydd hi byth.

MABLI (*o'r drws*): Nhad, dowch yma am funud.

HARRI (*yn codi i fynd*): Pan oeddwn i'n hogyn yn y ffair mi wariais lawer ceiniog ar rywbeth elwid

yn "*Try your strength.*" Roedd rhyw baladr o ddyn pren at faint Syr Tomos yma, a'r pwynt oedd ei daro yn rhywle yn ei ganol (*gan ddangos y smotyn ar gorff y* SYR) ac wedyn roedd yna fath o gloc yn uwch i fyny ar frest y dyn pren fan yma (*ar gorff y* SYR *o hyd*) yn mesur nerth yr ergyd: thrawais i rioed rownd y cloc ond choelia i byth na fedrwn i heddiw. (*Exit a'r tri am ennyd yn ddistaw.*)

MYRDDIN (*dan chwerthin yn goeglyd*): Dyna'r Hercules sy'n mynd i garthu stablau busnes a pholitics—Samson Cristnogol yr ugeinfed ganrif.

SYR TOMOS (*yn ddiniwed iawn*): Ryda ni i gyd yn Gristnogion, ond y drwg ydi fod Harri o ddifri gyda hi.

MYRDDIN: Gwawdiwch ymlaen, ond beth yw Meredith well o fyw bywyd yr Apostolion yn yr ugeinfed ganrif?

SYR TOMOS: Dim o gwbl, ond myn einioes Pharo, mae'n drêt gweld rhywun yn ddigon o ffŵl i wneud y cynnig pan mae pawb ar ôl y torthau a'r pysgod ac yn barod i werthu eu nain am daid rhywun arall.

MYRDDIN: Hylo, a yw Syr Tomos o fewn ychydig——

SYR TOMOS (*yn esmwyth iawn*): Na, na, Cristion o deip yr ugeinfed ganrif wyf fi, achos mae rhaff go hir i rai felly. Wir ddyn byw, fe all paganiaid fel ni'n tri fod yn Gristnogion heddiw

drwy drugaredd, ond fod rhyw hurtyn o ddyn fel Harri yn anesmwytho tipyn ar ddaliadau cyfforddus dynion diwiol fel ni.

OLIFER (*yn ddig*): Yr ydach chi'n cymryd yn ganiataol fod yn rhaid i ddyn werthu'i gydwybod os am lwyddo fel masnachwr neu bolitisian.

SYR TOMOS: Sut yr oedd yr hen chware gynt? "Fedri di fynd i'r ffair i werthu wya heb ddweyd ïe?" "Medra." "Dros y bont neu drwy'r caea," ac ymlaen fel yna, a'r gamp oedd peidio dweyd ïe, ond dweyd ïe yr oeddym bob cynnig mewn ffordd rownd-abowt.

OLIFER: Wel?

SYR TOMOS: Chwarter canrif yn ôl euthum i'r Senedd yn benderfynol o beidio dweyd ïe wrth gelwydd a thwyll, ond cyn hir gwelais fod yn rhaid i mi ddweyd celwydd diplomatig, a chan mai brawd tagu yw mygu mi euthum ymlaen o'r celwydd diplomatig at y celwydd noeth—does dim trwch papur sidan rhyngddynt.

MYRDDIN: Rhywbeth tebyg fydd profiad Meredith, ond mi ymgynghorwn â'r oracl. (*Yn tynnu darn arian allan.*) Os daw hwn i lawr yn *King* ddwywaith, mae Meredith ar ei ffordd i fyny; os na, i lawr y daw o. (*Yn tosio'r darn deirgwaith gan ddweyd "King—Brits—Brits."*) Dyna'i ddyfodol o wedi'i setlo—i lawr y daw o.

SYR TOMOS (*yn ffug-bryderus*) : Be wyddo ni, dri dyn diwiol, nad oes gan Harri ryw syniad mai mynd i fyny yw dod i lawr?

MYRDDIN (*yn frawdol*) : Mae'r gwres wedi codi i'ch pen, Syr Tomos : rhowch eich traed mewn dŵr poeth a mwstard cyn mynd i'r gwely a dôs dda o chwŷs. Wel rwan, Olifer, mi awn. (*Y ddau'n codi i fynd, a* HARRI *yn dod i mewn.*)

HARRI : Ydach chi'n mynd?

MYRDDIN : Rhaid mynd rwan. Lwc dda i chi, a chyn belled ag y mae a fynno fi â'r Wasg fe ellwch ddibynnu arnaf ond (*rhwng difrif a chware ond mwy o'r difrif*) i chwi fodloni gweithio yn yr un tresi a'r blaid. Bûm yn ffrind go lew i'ch rhagflaenydd (*gan nodio'i ben ar y* SYR).

SYR TOMOS (*yn ffug-frwdfrydig*) : Ffrind! Do. Rargian fawr, fasa f'enw i ddim yn perarogli fel y mae drwy Gymru onibae i chi drwsio f'areithiau a rhoi ambell baragraff bach diwiol fel hyn drwy Wasg Cymru : " Y Saboth diweddaf yr oedd Syr Tomos Owen yn bresennol ddwywaith yng nghapel Llwynyblawd. Mor ddymunol yw gweld ein Seneddwyr yn cadw at yr hen ddefodau sy wedi gwneud Cymru y wlad fwyaf crefyddol dan haul." (*A'i law ar ei enau yn ffug-ofnus.*) Dim gair, cofiwch, am y gêm o golff y Sul diweddaf neu chawn ni byth eto fynd i brif wyliau'r Ymneilltuwyr. (*Siglo llaw â'r*

*ddau.*) Ffarwel i chwi'ch dau—Latimer a Ridley Cymru, mi losgwch fel dwy gannwyll wêr.

HARRI: Ffarwel, Olifer. Diolch i chithau, Myrddin, am bob help yn yr etholiad, ond cofiwch nad wy'n rhwymo fy hun wrth neb—Syr Tomos na'r Wasg na'r Weinyddiaeth. (*Exit y ddau.*)

SYR TOMOS: Ryda ni'n tri wedi dod i'r casgliad fod yn rhaid agor dy lygaid cyn mynd i'r Senedd.

HARRI: Beth sydd o'i le arnyn' nhw?

SYR TOMOS: Y gwir plaen, rhyw hogyn mawr o freuddwydiwr wyt ti—byrbwyll, penstiff; a fi yw spesialist Ysbryd yr Oes i agor dy lygaid.

HARRI (*yn twymo*): Rwy'n gweld pobl gyffredin yr ydych chwi ac eraill wrth droi mewn cylchoedd artifisial cyfoeth a dysg wedi colli golwg arnynt ers talwm.

SYR TOMOS (*wedi digio*): Ti a dy bobol gyffredin—nhw sydd wedi lladd pob un fu'n ddigon hurt i geisio gweini arnynt—mi laddan' dithau at y *rest*—nhw yw'r set fwya anniolchgar tan haul. Mae awyr y balconi yna'n well na lol fel hyn. (*A allan i'r balconi a daw* MABLI *i mewn gyda choronbleth o flodeu.*)

MABLI: Rwyf wedi plethu coron o flodeu i roi ar eich pen.

HARRI: Dy ben di yw'r clysa o bawb.

MABLI: I chi mae rhein.

HARRI: Wel, rwan am dani.

MABLI: Rhaid i chi fynd ar eich gliniau.

HARRI: Pam?

MABLI: Ar eu gliniau y mae pawb yn derbyn coron.

HARRI (*yn penlinio*): Fel hyn?

MABLI: Ie (*yn ei goroni*). Coron wen ar ei ben: ond fe ddylech gael clôg o'ch cylch.

HARRI: Beth am y llian sydd ar y bwrdd?

MABLI: I'r dim. (*Yn ei gyrchu a'i ddodi dros ei ysgwydd.*) Dyna rywbeth tebyg i frenin rwan: fe ellwch eistedd.

HARRI (*yn ufuddhau*): Ydw i'n debyg i frenin?

MABLI: Neisiach na dim brenin fu erioed. (*Ar ei gliniau o'i flaen.*)

SYR TOMOS (*o'r ffenestr gyda ffug beswch*): Rwy'n pesychu, Mabli, i ti wybod mod i yma.

MABLI: Dim ods o gwbl; rwyf newydd goroni nhad yn frenin.

SYR TOMOS: Brenin ar bwy?

MABLI: Ar Mabli.

SYR TOMOS: Beth yw ei deitl?

MABLI: Y Brenin Harri.

SYR TOMOS: Beth yw ei nymbar—Harri'r Nawfed?

MABLI: Nage—Harri heb ei ail.

SYR TOMOS: Rwyt ti'n smart o d'oed: beth yw d'oed?

MABLI: Bron yn bymtheg: beth yw'ch oed chi?

SYR TOMOS: Pymtheg—ers plwc bellach.

HARRI: Hen lanc ydi o, Mabli, ac mae o'n drigain a phump os yn ddiwrnod.

MABLI: Faint sy rhwng pymtheg a thrigain a phump?

SYR TOMOS: Yr un faint ag sy rhwng afal coch ar y pren ganol haf ac hen afal melyn yng ngwaelod y sach ddiwedd y flwyddyn. Rwy'n gweld o'r balconi dy fam a dy nain yn dod.

MABLI: Tynnwch y llian yna oddiam danoch. (*Exit, ac* HARRI *yn rhoi'r lliain a'r blodeu ar y bwrdd.*)

SYR TOMOS (*o'r ffenestr*): Harri, fe anghofiais y rhan bwysicaf o f'araith gynneu wrth ganu ffarwel am byth i fy hen etholwyr: wnei di wrando arni?

HARRI (*dan chwerthin*): Wel rwan am dani.

SYR TOMOS (*mewn ystum areithyddol o'r ffenestr*): Annwyl gyd-wladwyr, dyma'r hen Gyrnol yn cadw noswyl, ond ar f'engoch i, nid cyn gwneud diwrnod go lew o waith. Buoch yn godro fy manc-book am chwarter canrif nes mae bron yn sych gorn; agorais basars a *sales-of-work* a *jumble-sales* wrth yr ugeiniau; mae f'enw, er cynddrwg ydwyf, ar gerrig sylfaen y pedwar enwad; cefais *jobs* i gannoedd o'ch perthnasau; tanysgrifiais at bob tysteb o fewn y deuddeg sir; nid unwaith na dwy

y buoch ar fy ngofyn am bres i brynu dannedd gosod a throliau a mulod i etholwyr tlawd. A dyma'r corn bwyd olaf wedi canu ar yr hen Gyrnol, a'r tipyn enaid oedd ganddo chwarter canrif yn ôl wedi diflannu wrth weini arnoch.

NAN (*yn brysio i mewn â theligram yn ei llaw*): Harri! oddiwrth y Prifweinidog; rwyf wedi ei agor. (*Yn ei estyn yn llawen.*)

HARRI (*yn ei ddarllen yn ddigynnwrf a'i estyn i'r* SYR): Ydi mam wedi dod?

NAN (*yn ddig*): Mi fasa dyn yn meddwl oddiwrth eich dull mai teligram oddiwrth ysgubwr simneu yw hwn.

SYR TOMOS: Fachgen, fachgen! Y Prifweinidog yn dy longyfarch!

NAN (*yn fywiog a serchog*): Harri, dyma'ch siawns ar ddechreu.

HARRI: Siawns i beth, Nan fach?

NAN (*yn ddreng*): Siawns i ddod ymlaen, bid siwr. Pan fo pawb yng Nghymru yn crafangu am swyddau, mae'n deg i un sydd wedi gwneud cymaint o waith tawel a chi gael ei gydnabod.

SYR TOMOS: Wel di, Harri, mae hwn (*yn dal y teligram*) naill ai'n em yn dy goron neu'n hoelen yn dy arch.

HARRI (*yn anesmwyth*): Mae mam yn o hir yn dod.

NAN (*wrth y* Syr *yn wawdus*): Ei fam, ei fam yw popeth.

SYR TOMOS: Yn ddistaw bach, mae o'n tynnu ar ôl ei fam mewn rhai pethau—mae o dipyn yn feistrolgar fel petai.

JANET MEREDITH (*daw i mewn â golwg wladaidd arni, tua thrigain a phump oed ond yn gadarn*): Wel, Harri, mi gest d'ethol yn anrhydeddus. Hir oes i ti i wneud dy waith heb fegio gwên nac ofni gwg neb. (*Wrth y* Syr.) Dyma'r gwas newydd, yntê, wedi dod i sgidiau'r hen was?

SYR TOMOS: Mae o'n gwisgo sgidiau cryfach na fi—*size* mwy a lledar gwahanol.

JANET: Fe ddylai Aelod Seneddol heddiw wisgo esgid go drom.

SYR TOMOS: Efallai; ond mae cyrn tyner iawn ar draed yr oes yma.

JANET: Paid ag ofni rhoi dy draed i lawr, Harri: mi leiciwn dy weld yn gefn i rywbeth gwerth byw a marw er ei fwyn, a phaid a bod yn chwitchwat: fuost ti erioed a fyddi di ddim, greda i.

NAN (*yn oeraidd*): Raid i chwi ddim ofni hynny, a gwell cyngor iddo heddiw fasa'i annog i gyd-dynnu yn yr un harnis ag eraill. (*Daw* Mabli *i mewn a chwery gyda'r blodeu.*)

HARRI (*yn dda ei dymer*): Gormod o bwdin dagith gi. Am awr gyfa y mae pawb wedi bod wrthi yn stwffio cynghorion i lawr fy ngwddw—rhowch

chware teg i greadur gwael. (MABLI *o'r tu ôl iddo'n gosod y goronbleth eto ar ei ben.*) Mabli, rwyt ti'n werth Ty'r Arglwyddi a Thy'r Cyffredin gyda'i gilydd.

NAN (*yn neidio ymlaen ac yn tynnu'r blodeu oddiar ei ben*): Mabli, peth anlwcus iawn yw drain gwynion mewn ty.

MABLI (*wedi dychryn braidd*): Wyddwn i ddim. Rhoi coron o flodeu ar ben nhad oeddwn i.

HARRI: Wel ar fy ngair, wyddwn i ddim eich bod mor ofergoelus.

JANET: Harri bach, y gwir yw nid wyf innau yn leicio gweld drain gwynion mewn ty.

HARRI (*yn chwerthin*): Grym annwyl, beth yw'r gwahaniaeth rhwng draenen wen a rhosyn coch—mae'r naill a'r llall yn pigo? (*Yn gweld* NAN *yn edrych ar ei llaw; yn codi a mynd at ei hymyl.*) Beth yw'r mater?

NAN: Dim ond fod y ddraenen wedi rhoi pigiad i mi. (HARRI *yn edrych ar ei llaw a'r llen yn dod i lawr.*)

DIWEDD ACT I.

# Y DDRAENEN WEN

## ACT II.

*[Pedair blynedd ar ôl Act I. Ystafell yn nhy* MEREDITH *yn Llundain, yn gysurus ond heb ddim gwychter : drws ar y chwith i'r passage. Pan gyfyd y llen gwelir* MR. *a* MRS. JONES-ROBERTS *yn eistedd, newydd alw i weld* HARRI, *a* MABLI *wedi eu harwain i mewn ac yn sefyll wrth y drws ar fynd allan. Y mae'r pedair blynedd wedi gwneuthur gwahaniaeth yng ngolwg* MABLI *ac yn ei dull o wisgo.]*

MRS. JONES-ROBERTS : Dyw'ch tad ddim i mewn felly, Miss Meredith ?

MABLI : Na, ond galwaf ar fy mam rwan. (*Exit. Y ddau wedi eu gadael eu hunain yn edrych o'u cylch yn feirniadol a* MRS. JONES-ROBERTS *yn dangos ei siom yn yr ystafell a'r dodrefn drwy deligraffio â'i phen a'i dwylo, ac yntau yn fwy ofnus yn ateb yn yr un modd.*)

MRS. JONES-ROBERTS : *Lovely little room, isn't it ?*

MR. JONES-ROBERTS : Ydi. Gresyn na chawse ni weld Mr. Meredith hefyd.

MRS. JONES-ROBERTS (*yn edrych ar ddeunydd a phatrwm y carped ac yn cyfleu'r ffaith nad oedd o'r cwaliti*) : Yn wir mae yma le bach cysurus.

MR. JONES-ROBERTS : Oes (*yn ei warnio'n ofnus i fod yn ochelgar drwy bwyntio at y drws*).

MRS. JONES-ROBERTS (*yn rhoi treial ar y lliain bwrdd a'i gael yn brin ac yn sibrwd yn uchel*): *The Hazels!*

MR. JONES-ROBERTS (*mewn braw yn dangos y drws*): Sgwn i ymhle mae o?

NAN (*yn dod i mewn*): Sut yr ydach chi——

MRS. JONES-ROBERTS (*yn neidio i fyny'n wresog cyn i* NAN *orffen*): Mrs. Meredith, rym newydd fod yn dweyd mor *comfortable* —*cosy* efallai yw'r gair—mor *cosy* yw hi yma.

NAN: Rwy'n ofni mai'r unig beth i'w ddweyd am y ty yw ei fod yn lân.

MRS. JONES-ROBERTS (*yn gonffidensial*): Rwy'n teimlo'n aml—rhyngoch chi a fi—fod yr *Hazels* yn rhy fawr i Mr. Jones-Roberts a finna: *I should like*—mi wyddoch—ty llai, un forwyn yn lle tair, a chadw'r *chauffeur*, bid siwr. Ydach chi'n cael trafferth gyda'ch morynion?

NAN (*yn swil*): Wel—y ffaith yw—mae Mabli a finna'n medru gwneud yr holl waith.

MRS. JONES-ROBERTS (*yn syn a difrifol*): Dim morwyn! sut yr ydach chi'n managio ac M.P.'s—ac eraill—yn galw yma?

NAN (*o hyd yn swil*): Wel—does neb yn galw yma ers plwc byd: mae Olifer yn dod weithiau, ond rwy'n gweld Mrs. Olifer yn aml.

MRS. JONES-ROBERTS: *You astonish me,* Mrs. Meredith: beth am *political functions* a *social life* y Senedd?

NAN (*yn caledu*): Fyddwn ni byth yn mynd i'r un ohonynt.

MR. JONES-ROBERTS: Wrth gwrs, Mrs. Meredith, mi fydd Mr. Meredith yn gwneud cydwybod o fynd iddyn' nhw, gobeithio?

NAN (*yn gletach*): Ei gydwybod sy'n ei rwystro i fynd yno, medde fo.

MR. JONES-ROBERTS (*yn syn*): Ei gydwybod? (*Pryder yn ei lais.*) Ydi o dan law doctor? Mi wyddoch fod y—gydwybod yn cael y bai weithiau pan (*y spectol yn troi*)—mewn gwirionedd nad oes dim ond y cyfansoddiad *out of sorts*.

NAN: Mae o'n berffaith iach o ran ei gorff.

MR. JONES-ROBERTS (*fel doctor yn methu â deall symptoms y gydwybod*): Ydi o'n *subject* i iselder ysbryd—neu rywbeth felly?

NAN: Dim. Mae mor llon a bachgen ysgol.

MR. JONES-ROBERTS (*y spectol*): Ydach chi'n cofio, ddiwrnod y lecsiwn—bedair blynedd yn ôl—i mi ddweyd wrtho: "Mr. Meredith, rhaid i chi gadw'ch hun—*before the light of the public.*"

MRS. JONES-ROBERTS: Dyna'r *very* geiriau. (*Wrth ei gŵr yn betrusol.*) Mi ddylem ddweyd y cwbl wrth Mrs. Meredith, *my dear*.

MR. JONES-ROBERTS: Mi ddylech gael gwybod sut mae pethau—(*yn ostyngedig*)—credaf mod i'n deall y *political situation*—yn yr ardal acw.

MRS. JONES-ROBERTS: A'i deall yn well na neb—os ca i ddweyd hynny.

MR. JONES-ROBERTS: Wel, y ffaith yw—ac mae'n ddrwg gennyf orfod ei ddweyd—mae Mr. Meredith wedi colli ei *influence* drwy'r sir—ac rwy'n ameu—ac nid fi yn unig oblegid rwyf mewn *touch* â phrif ddynion y blaid—rwy'n ameu——

MRS. JONES-ROBERTS: *My husband, Mrs. Meredith, is v—e—r—y tender-hearted,* ond y gwir yw does gan Mr. Meredith mo'r gobaith lleiaf i ennill y lecsiwn nesaf—ac mae'r lecsiwn nesaf wrth y drws—*we have had it from headquarters.*

NAN (*braidd yn chwerw*): Nid yw hyn yn newydd i mi, ond gwyn fyd na bai Meredith yma i'ch clywed—hwyrach y credai o chwi.

MR. JONES-ROBERTS: *Exactly*; wrth gwrs mae wedi gwneud drwg mawr iddo'i hun wrth fotio—fwy nag unwaith—yn erbyn ei blaid.

MRS. JONES-ROBERTS: Ac mae pobol wedi mynd i gredu bod ganddo—*you'll pardon me for saying so, dear Mrs. Meredith—they think he has a few bees in his bonnet.*

MR. JONES-ROBERTS: Pethau fel *international fellowship* wyddoch—ac mae'n siglo ffydd

y wlad wrth awgrymu nad oes dim digon o onestrwydd ymysg politisians——

MRS. JONES-ROBERTS (*gyda difrifwch*): *It's a serious charge, you know.*

MR. JONES-ROBERTS (*yr un mor ddifrifol*): Yn wir mae'n edrych yn dywyll arno yn yr etholiad nesaf. Gwaeth na'r cwbl, mae *attitude* Mr. Meredith ar bwnc y Fasnach—masnach y ddiod——

MRS. JONES-ROBERTS: Cofiwch chwi, Mrs. Meredith, mae Mr. Jones-Roberts a finnau yn ddirwestwyr—wel, yn ddirwestwyr cymhedrol felly—rym yn gorfod cadw *wine-cellar* fach—er mwyn *visitors* yn bennaf—*political functions for example.*

MR. JONES-ROBERTS (*gyda gwên a thro ar y spectol*): Mae dynion cyhoeddus—politisians er enghraifft—yn well o *stimulant* bach o flaen araith—ac ar ei hôl weithiau—roedd Timotheus, bid siwr, yn ŵr cyhoeddus.

MRS. JONES-ROBERTS: *Do please tell Mr. Meredith that he must—must face the facts.*

MR. JONES-ROBERTS (*yn paratoi i fynd*): Mae acw lu mawr o weithwyr—Saeson gan mwyaf o Somerset a Wiltshire—rhyw bethau digon llymrig wrth gwrs, ond fôts ganddynt fel mae'r gwaetha, ac mi wn fel y maent yn cablu ei enw am yr *attitude* mae o wedi gymryd ar bwnc y Fasnach——

MRS. JONES-ROBERTS: Rhwng pleidwyr y Fasnach a dosbarthiadau eraill sy'n ddig wrtho am yr hobis od sydd ganddo, wel——

MR. JONES-ROBERTS: Mae hi'n dywyll iawn arno: mi garwn pe bai yma wyneb yn wyneb â ni, achos mae hi'n greisis difrifol. Wel *good-bye*, Mrs. Meredith. (*Yn siglo llaw â hi.*)

MRS. JONES-ROBERTS (*yn felys*): *Good-bye.*

NAN (*yn agor y drws iddynt*): Fe agora Mabli'r drws i chwi.

MRS. JONES-ROBERTS (*yn rasol*): Mae Miss Meredith yn tyfu'n gyflym—*quite a young lady.* (*Y ddau'n mynd, a saif* NAN *mewn synfyfyrdod.*)

MRS. OLIFER (*yn dod i mewn gydag un neu ddau o barseli ysgafn a'u dodi ar y bwrdd*): Mi glywis Mabli'n dweyd fod y ddau yna yma a doeddwn i ddim am eu gweld.

NAN (*yn edrych o'i chylch ar yr ystafell*): Mi fentra fy mhen fod llygad y ddau snob yna wedi cymryd stoc iawn o'r rŵm: rwy'n gweld blaen ei thrwyn coch yn codi. (*Yn ei dynwared.*) *The idea that our member of Parliament should be living in all that shabby gentility!*

MRS. OLIFER: Beth ddaeth â'r ddau yna yma—fuo nhw yma o'r blaen?

NAN: Naddo. (*Ar ôl ennyd.*) Ond doedd dim yn eu neges yn newydd i mi na neb bellach: dweyd yr oeddynt ei bod ar ben ar Harri yn y lecsiwn nesaf.

MRS. OLIFER: Fe ddwedais hynny wrthych fisoedd yn ôl.

NAN: Doedd dim eisiau i neb ddweyd wrthyf. Rwy'n ei weld ar hyd y pedair blynedd yma yn mynd yn fwy unig; mae fel pe'n benderfynol o nofio'i gwch ei hun heb ystyried neb.

MRS. OLIFER: Wyr o, sgwn i, sut mae'r gwynt yn chwythu?

NAN (*yn chwerw*): Pwy ŵyr yn well? Ond yr un un ydyw erioed; unwaith y cymer syniad yn ei ben, yno y bydd. Rwyf o'r farn ei fod wrth ei fodd i fod yn y lleiafrif yn erbyn pawb.

MRS. OLIFER: Mae rhai felly.

NAN: Mae hi o'r goreu i fod yn *champion* achosion gweiniaid ar ôl dod i swydd a safle.

MRS. OLIFER: Dyna'r *point*—ar ôl dod i swydd.

NAN (*yn egniol*): Y gwir yw, does dim eisiau swydd arno: choelia i byth nad yw'n credu mai fo yw Ioan Fedyddiwr yr ugeinfed ganrif sydd i ddangos mor ddrwg ydyw pawb ond fo.

MRS. OLIFER: Beth oedd barn y ddau yna?

NAN (*yn chwerw*): Run farn a phawb—ei fod am ganu solo ar ben ei hun ond chanith o ddim yn y côr.

MRS. OLIFER: Wel ïe, ond pam?

NAN (*yn goeglyd*): Am nad yw'r côr yn ddigon da i'r *soloist* mawr. Does dim digon o onestrwydd

yn y Senedd, dim digon o sobrwydd ym Mhrydain Fawr, dim digon o frawdoliaeth yn y byd.

MRS. OLIFER: Wrth sôn am frawdoliaeth, mi glywsoch yr enw sydd arno yn y Senedd?

NAN: Do—"Apostol Mawr y Cenhedloedd." Roedd un o bapurau còmic Llundain yn ei alw'r dydd o'r blaen yn gymysgfa o J. B. Gough sydd am sobri'r wlad a Guy Fawkes sydd am chwythu'r senedd yn yfflon.

MRS. OLIFER: Rwan cyn i mi anghofio, fe ddowch i *Garden Party*'r Prifweinidog drennydd?

NAN: Wyddwn i ddim am dano.

MRS. OLIFER: Mi wn i drwy Olifer i chi'ch tri gael gwâdd.

NAN: Digon tebyg, ac mi fentra fod Harri wedi gwrthod fel arfer.

MRS. OLIFER: Pam mae'n gwrthod o hyd? Mi ellid ei ddeall yn gwrthod weithiau.

NAN (*yn flinedig*): O! yr un hen reswm—ofni colli'i hawl i sefyll yn erbyn y Prifweinidog a'i blaid os daw galw—ofn colli ei annibyniaeth—ofn colli ei enaid ac ymlaen a hi: rwyf wedi laru ei glywed.

MRS. OLIFER (*yn danbaid*): Pam na roith o ryddid i chwi i ddod os na ddaw ei hunan?

NAN (*yn dawel a bygythiol*): Hyd yn hyn Harri sydd wedi mynnu ei ffordd—hyd yn hyn. (*Braidd yn ymostyngar.*) Ond beth fyddwn i well o dderbyn gwahoddiadau fel hyn a ninnau yn byw mewn

croglofft o dy fel hwn. Fe aeth fy nghalon i lawr fel plwm rwan pan alwodd y ddau snob bach yna yma. (*Yn dynwared.*) "*The Hazels*"*!* Meddyliwch am wâdd neb i dwll fel hyn.

MRS. OLIFER: Wel yn wir, mi faswn i wedi marw yma mewn llai na blwyddyn—yr ydych mor unig yma.

NAN (*mewn ffug afiaith*): Unig! Na, mae rhai o grancod mawr Europe a'r America yn hel yma, dynion hirwallt mewn spectols trymion; ac am y merched—maent fel lluniau digri o "Punch"—*freaks* pum cyfandir yn casglu rownd Harri, Apostol Mawr y Cenhedloedd, sy'n mynd i ddwyn gwledydd y byd i chware Bobi Bingo a *Kiss in the Ring*.

MRS. OLIFER (*yn ddig*): Mi leiciwn weld Olifer yn fy nhrin i fel mae Meredith yn eich trin chwi—mi gadawn o fory nesaf, a waeth hynny na rhagor, mae Meredith yn *selfish*.

NAN (*ar ôl ennyd*): Na, nid wy'n fodlon i alw Harri yn *selfish*. Fu neb yn meddwl llai na fo am ei gysur ei hun; ond wrth fod yn barod i ddiodde'i hun dros yr hyn mae o'n gredu, mae Mabli a finnau'n gorfod diodde hefyd.

MRS. OLIFER (*yn frwd*): Ie, a diodde mwy.

NAN (*yn lleddfu*): Na, ddyweda i mo hynny chwaith.

MRS. OLIFER: Rwy'n dal mai chwi a Mabli sy'n diodde fwyaf: mae o yn cael y pleser o gredu

yn y pethau mae o'n diodde er eu mwyn, ond am danoch chwi'ch dwy, nid ydych chwi'n cael y pleser o gredu ynddynt i gychwyn. Nan, y mae'n hen bryd i chwi roi'ch troed i lawr. (*Yn codi*). Wel, *goodbye :* dowch acw'r Sul nesaf, chwi a Mabli.

NAN (*yn brudd*) : Mi gawn weld.

MRS. OLIFER (*yn craffu arni*) : Wnewch chwi gadw *secret*, er na ddylwn i mo'i ddweyd.

NAN (*yn ddifywyd*) : Wel ?

MRS. OLIFER (*yn gonffidensial*) : Mae Olifer a Myrddin yn galw yma heddiw : mae'r ddau yn dod a rhyw fath o gynnig ola—*ultimatum*—oddiwrth y Prifweinidog. Yn ddistaw, mae Meredith yn cael cynnig ar swydd bwysig yn y blaid ar ôl y lecsiwn nesaf ; os derbynnith o'r telerau——

NAN (*yn fywiog*) : Swydd ? Ydi hwnna'n ffaith ?

MRS. OLIFER : Ydi, ond cadwch o'n ddistaw.

NAN : Ond Kitty, mi ddylwn gael dweyd wrth Harri er mwyn ei berswadio i'w derbyn. (*Yn chwerw.*) Ond nid wyf yn cyfri dim, gwaethа'r modd, mewn peth fel hyn.

MRS. OLIFER (*yn poethi*) : Welwch chwi, Nan, does bosib eich bod yn mynd i adael iddo wrthod y siawns ola gaiff o byth yn y Senedd.

NAN (*yn benderfynol*) : Dyma nghyfle innau wedi dod o'r diwedd. (*Sŵn drws y stryd yn agor ac ymryson chwareus fel ymaelyd codwm rhwng* MABLI *a'i thad yng nghanol chwerthin.*) Mae Harri'n

gwneud i mi feddwl weithiau mai rhyw hogyn mawr direidus ydyw.

HARRI (*yn gwthio* MABLI *o'i flaen drwy'r drws*) : Prun ydi'r cryfaf rwan, sgwn i? (*Yn gweld* MRS. OLIFER.) Sut hwyl, Mrs. Olifer? Mi fyn Mabli ei bod yn gryfach na'i thad.

MRS. OLIFER : Mae'n rhaid iddi fod yn o gref i fod yn gryfach na'i thad. Wel, dyma fi'n mynd.

HARRI : Beth yw'r brys?

MRS. OLIFER : Mi alwais wrth basio i ofyn a oedd Nan a Mabli'n dod i'r *Garden Party* drennydd.

NAN (*yn derbyn cyweirnod* MRS. OLIFER) : Ydach chi'n fodlon i ni fynd yno, Harri?

HARRI : Rwyf wedi gwrthod y gwahoddiad.

NAN (*yn oer*) : Ddaru chwi ei wrthod dros Mabli a finnau?

HARRI : Wel mi gwrthodais o.

NAN (*fel iâ*) : Chefais i a Mabli ddim llais yn y gwrthod.

MRS. OLIFER (*yn gweld y tân ar dorri*) : Rhaid i mi fynd : cofiwch y Sul, Nan. (MRS. OLIFER *a* MABLI *yn mynd allan.*)

NAN : Rwy'n dweyd eto, Harri, na chefais i ddim dewis i dderbyn na gwrthod gwahoddiad y Prif-weinidog i'r parti drennydd.

HARRI (*braidd yn ddiamynedd*) : Fe wyddech nad wy'n arfer derbyn gwahoddiadau o'r fath.

NAN: Beth oedd ar y ffordd i Mabli a finnau ei dderbyn?

HARRI: Mae'r peth yn glir i mi: pe derbyniech chwi'r gwahoddiad fe roi'r argraff fy mod innau'n ei dderbyn.

NAN: Wel pa ddrwg fasa i chwi dderbyn hwn fel tipyn o newid ar ôl gwrthod cymaint?

HARRI (*yn danllyd*): Mae pob un fydd yn y *Garden Party* drennydd yn rhwym draed a dwylo wrth y Prifweinidog.

NAN (*a'i llestr yn llawn*): O, rwyf wedi hen flino ar un diwn gron yn barhaus.

HARRI: Sut na welech chwi bellach fod y gwaith—gwaith rwy'n credu mod i wedi fy ngalw iddo—yn rhywbeth nad oes dim plaid fel plaid hyd yma yn barod i'w helpu.

NAN (*yn ddig*): Rych yn siarad fel hen broffwydi Israel—"wedi ngalw." A oedd gwragedd gan y proffwydi? Ac os oedd, a oeddynt hwythau'n cael yr un alwad? Wyddwn i ddim mod i'n priodi proffwyd, ac yn sicr wyddai Mabli ddim, druan, mai merch i broffwyd fuasai.

HARRI (*yn syn*): Nan, nid wy'n eich deall y misoedd diweddaf, ond ofnaf rywfodd ein bod yn mynd ymhellach oddiwrth ein gilydd.

NAN: Nid ych wedi ateb fy nghwestiwn—Pam y dylwn i a Mabli fyw yn y cysgodion a chael ein cau

allan o bopeth sy'n dod i ran gwragedd a phlant aelodau seneddol eraill?

HARRI (*yn deffro i'w berygl*): Wel, Nan bach, wn i ddim a yw'n ormod i'w ddisgwyl ond—— (*yn petruso.*)

NAN (*yn ddig*): Mi wn beth sydd yn eich meddwl —mod i, wrth eich priodi chwi, wedi priodi'ch cynlluniau a holl epil eich meddwl. Welwch chwi, Harri, y mae'n hen bryd i chwi glywed y gwir, yr ydych yn *selfish*, nid *selfish* fel y gall dynion bach gwael fod, ond *selfish* fel y gall y sawl sy'n credu eu bod yn broffwydi fod: nid *selfish* mewn ffordd *vulgar*, ond *selfish* yn ffordd uchel dynion elwir yn dda, ac mae *selfishness* proffwyd cynddrwg i'w oddef ag yw *selfishness* bydolddyn.

HARRI (*yn fflam*): *Selfish!* (*Yn gostwng ei lais mewn braw.*) *Selfish!* A yw Mabli'n teimlo fel chwi?

NAN (*yn goeglyd*): O, ie, Mabli bid siwr, Mabli yn anad neb. (*Daw* OLIFER *a* MYRDDIN *i mewn.*)

MYRDDIN: Mae wedi dod adre eto, Mrs. Meredith?

NAN (*yn oeraidd*): Newydd ddod, fel y gwelwch. (*Exit.*)

HARRI: Steddwch nes i mi dwtio ychydig arnaf fy hun. (*Exit.*)

MYRDDIN: Pwy sydd i dorri'r newydd iddo?

OLIFER: Canpunt ymhen ceiniog y gŵyr o amcan beth yw'n busnes.

MYRDDIN: Digon tebyg: fo yw'r unig un rwyf dipyn yn swil yn ei gwmni.

OLIFER: Chwi'n swil? (*Yn chwerthin.*)

MYRDDIN: Mae Meredith yn gwneud i mi feddwl bob amser am y bachgen bach hwnnw yn yr hen chwedl.

OLIFER: Ie.

MYRDDIN: Rhyw frenin mawr yn yr hen oesoedd yn arfer ymddangos o flaen ei ddeiliaid yn noethlymun, a phawb ohonynt yn cymryd arnynt ei fod yn ei wisg frenhinol ac yn canmol ei gwychter, ond rhyw fachgen bach yn spwylio'r cwbl drwy weiddi un diwrnod, "Ho, Ho; does gan y brenin ddim am dano—mae o'n noeth."

OLIFER: Wêl o mo'n noethni ni heddiw ond i ni lwyddo cael ein hergyd arno.

MYRDDIN: Ymhle mae'i daro yw'r pwnc, achos does dim ofn byd, cnawd, na'r Wasg arno. (HARRI *yn dod i mewn.*) Roeddwn yn dweyd wrth Olifer rwan mor ddistaw yw'r rhan hon o'r ddinas.

HARRI: Distaw iawn, ond nid dod yma i ddweyd hynny yr oeddych, mi wrantaf.

MYRDDIN (*dan chwerthin*): Na, ond mae'n rhaid i'r piano ganu tipyn cyn i'r *solo* gychwyn.

OLIFER: Yn fyr, Meredith, dyma'n neges—fe esgusodwch siarad plaen?

HARRI: Goreu po blaena.

OLIFER: Fel y gwyddoch, mae'r etholiad cyffredinol wrth ymyl ac mae'r Prifweinidog wedi'n hanfon ni yma i ofyn a ydych yn dal i berthyn i'r blaid.

MYRDDIN: Waeth heb gau llygad ar y ffaith, yr ydych wedi fotio a siarad droeon dros bleidiau eraill yn erbyn eich plaid eich hun.

HARRI: Tybed nad oes rhyddid i ddyn ddilyn ei gydwybod yn y Senedd?

MYRDDIN: Un math o gydwybod sydd mewn politics—y gydwybod boliticaidd, sef bod yn ffyddlon i'r blaid sy'n eich dewis.

HARRI: Hyd yn oed pan bo'r blaid yn cyfeiliorni?

MYRDDIN: Nid yw plaid boliticaidd byth yn cyfeiliorni—y blaid sydd i'ch erbyn sy'n gwneud hynny.

OLIFER: Hyd yn oed pe bai yn cyfeiliorni dylai'r sawl sy'n perthyn iddi fod yn ffyddlon iddi drwy'r tew a'r teneu, dyna yw *esprit de corps*.

HARRI: Fy syniad i am ffyddlondeb i blaid yw ei dilyn pan fo'n iawn a rhoi arweiniad iddi pan fo'n *wrong*: mae'n ganmil pwysicach bod yn ffyddlon i egwyddorion nag i bleidiau.

MYRDDIN: Mi wn beth yw'ch egwyddorion—pwy nas gŵyr erbyn hyn? (*Yn wawdus.*)

*Till the war drums throb no longer*
*And the battle-flags are furled*
*In the Parliament of Man and the Federation of the World.*

Lobscows troednoeth!

HARRI (*yn danllyd*): Myrddin, yn y goedwig yr ydych chwi a'ch bath hyd heddiw yn dal i gredu mewn dyrnau a chyrn a dannedd ac ewinedd.

MYRDDIN: Pan welaf argoel fod dyn yn dechreu bwrw'i ddannedd a'i ewinedd fe bleidiaf eich program, ond pethau caled, gwydn yw ffeithiau.

HARRI (*yn obeithiol*): Ffeithiau yw'r pethau mwyaf brau yn y byd i gyd: ffansi bach—dychymyg—breuddwyd, rheina sy'n wydn ac yn chwalu pob ffaith yn y diwedd.

OLIFER: Rwan, Meredith, fe ddown i lawr o'r cymylau: dyma gynnig y Prifweinidog, os â'r blaid i mewn yn yr etholiad yma sydd wrth ymyl fe sicrheir swydd bwysig i chwi yn y weinyddiaeth nesaf, achos gŵyr pawb am eich gwerth mewn cyngor ac ar lwyfan.

HARRI: Dywedwch wrtho nad wyf i ddim yn y farchnad os yw swydd yn y Cabinet yn golygu bod yn ddistaw ar yr egwyddorion rwy'n credu ynddynt.

MYRDDIN: Dyna'ch penderfyniad?

HARRI: Ie.

MYRDDIN: Wrth gwrs fe wyddoch fod eich penderfyniad yn rhoi pen ar eich gyrfa yn y Senedd? Mi fydd y Wasg a holl rym y blaid yn eich claddu.

HARRI: Y meirw o hyd sy'n claddu'r byw.

OLIFER: Fe anfonwch air eich hunan at y Prifweinidog?

HARRI: Gwnaf.

MYRDDIN: Meredith, does gen i ddim yn eich erbyn yn bersonol, ond, myn enaid Pharo, fe ymladdaf hyd yr eitha yn eich erbyn yn y lecsiwn nesaf.

HARRI: Purion. Wel, dydd da i chi'ch dau. (*Y ddau yn mynd allan ac eistedd* MEREDITH *wrth y bwrdd i ysgrifennu'r llythyr, ond ar ôl ei gychwyn daw* NAN *i mewn yn gyffrous ei hysbryd ond yn hunan-feddiannol.*)

NAN: Mi wn beth oedd neges Olifer a Myrddin, ac rwyf am wybod beth yw'r llythyr yna i fod—gwrthod cynnig y Prifweinidog neu'i dderbyn?

HARRI: Ei wrthod.

NAN (*yn oer*): Gwyddoch beth fydd y canlyniad—colli'ch lle fel aelod seneddol, colli pob gobaith sydd ynglŷn â hynny?

HARRI: Rwyf wedi cyfri'r gost, ond fe rof dreial ar y lecsiwn, doed a ddelo.

NAN (*yn bwyllog*): Ac fe anfonwch y llythyr yna wrthod cynnig y Prifweinidog?

HARRI: Gwnaf.

NAN: Beth bynnag fo'r canlyniadau?

HARRI: Ie.

NAN (*yn araf*): Un canlyniad fydd hwn, os anfonwch chwi hwnna i wrthod y cynnig, mi fydda innau yn eich gadael ymhen yr awr.

HARRI (*ar ei draed*): Dydych chwi ddim o ddifri, Nan?

NAN: Fûm i erioed yn fwy o ddifri.

HARRI (*yn gyffrous*): Os gorfodwch fi i dderbyn cynnig y Prifweinidog, mi fydda'n fradwr i mi fy hun; fe gollaf yr unig beth sy'n rhoi gwerth arnaf fel gŵr i chwi.

NAN: Mae amser dadleu ar ben. (*Yn mynd at y drws.*) Mabli!

HARRI (*yn gwingo*): Beth ydych chwi'n wneud?

NAN: Mae gan Mabli lais yn y busnes yma. (*Daw* MABLI *i mewn.*) Mabli, rwy'n gadael dy dad a'r ty yma. Cyn pen yr awr mi fydda wedi casglu mhethau a mynd.

MABLI (*yn gynhyfrus*): Mam, be sy'n bod?

NAN: Y llythyr yna sydd ar y bwrdd: mae dy dad ar ôl gwrthod popeth drwy'r blynyddoedd yn mynd i wrthod y cyfle mawr ola gaiff o byth, a thrwy hynny ddiffodd d'obaith di a finnau.

HARRI (*yn grynedig*): Nan, byddwch yn deg, mae Mabli mor annwyl i mi ag ydyw i chwithau. Mabli bach, fel hyn y mae pethau——

NAN: Mae hi'n rhy hwyr i hollti blew mewn dadl: yn hollol yn erbyn f'wyllys y mae dy dad yn benderfynol i wrthod y cynnig: ac mae hi'n dod i hyn, gyda phwy yr wyt ti am aros—dy dad neu fi? (*Eistedd* MABLI *â'i phen ar y bwrdd.*)

HARRI (*yn wyllt*): Nid yw'n deg â Mabli i chwi ofyn iddi ddewis rhyngom: fe ddylai'ch serch ati wybod cymaint a hynny.

NAN: Fel arfer yr ydych yn gwylltio ar ôl i'ch cydwybod ddechreu anesmwytho. Nid fi sy'n brin o deimlad at Mabli, ond chwi wrth gofio pawb arall ddaru anghofio'ch merch a'ch gwraig.

HARRI (*yn tynnu ei law'n fyfyriol dros wallt* MABLI): Ddaru i mi erioed d'anghofio di, Mabli, nac anghofio dy fam chwaith. (*Wrth* NAN.) Yr ydych chwi'n fam iddi a finnau'n dad iddi; fe gaiff aros gyda chwi ac aros yn y ty yma. Os oes rhywun i fynd allan, fi yw hwnnw.

LLEN.

DIWEDD ACT II.

# Y DDRAENEN WEN

## ACT III.

[*Yr un olygfa ag Act I. Y mae'n etholiad drwy'r wlad ac* HARRI *i annerch ei etholwyr am chwech o'r gloch. Pan gyfyd y llen y mae o fewn ychydig funudau i'r awr, a gwelir* MYRDDIN *ac* OLIFER *yn edrych drwy'r ffenestr ar y dorf y tuallan, yn gythryblus eu meddwl. Yn yr ystafell y mae* SYR TOMOS *yn cerdded ôl a blaen yn gyffrous.*]

MYRDDIN (*yn dod o'r ffenestr yn y man*) : Welais i erioed gymaint o bobl yn y dref fach yma : mae'r ardal i gyd y tuallan ar y stryd, ac ar fy ngair, mae hi'n edrych yn ddu ar Meredith os meiddia wynebu'r dorf yna.

SYR TOMOS (*yn danbaid*) : Yr ydym ni yma'n tri i'w berswadio, doed a ddelo, i beidio â siarad : pe digwyddai rhywbeth iddo, faddeuwn i byth i fy hunan.

MYRDDIN : Wel, ryfeddwn i flewyn oddiwrth olwg rhan o'r dorf na fydd yma row cyn y diwedd.

SYR TOMOS (*yn wyllt*) : Chwi, Myrddin, sy'n tiwnio papurau newydd y blaid ac yn corddi teimladau'r *mob*, a dyna ffrwyth eich llafur ar y stryd y tuallan.

MYRDDIN (*yn ddig*): Ie, taflwch y bai arnaf fi: yr ydych chwithau fel finnau'n perthyn i'r blaid sy'n ymladd yn erbyn Meredith.

SYR TOMOS (*yn dofi ychydig*): Bobol annwyl! beth ddaeth dros feddwl y mul dwl i ymladd ei hunan bach yn erbyn holl allu'r blaid? (*A at y ffenestr i edrych allan.*) Petawn i byth yn syflyd, nid wy'n leicio golwg y dorf. (*Yn clustfeinio.*) Beth yw'r gân yna sydd gan rai ohonynt? Nid wy'n medru dal y geiriau.

OLIFER: Un o ganeuon digri'r lecsiwn yw hi.

SYR TOMOS: Beth yw'r geiriau?

OLIFER: O, rhyw hen eiriau digon cas.

SYR TOMOS (*yn fyr ei dymer*): Ie, ond beth ydynt? Rydych eich dau fel delwau.

OLIFER: Rhyw lol ynghylch gwraig Meredith wedi ei adael ac ymlaen â hi.

SYR TOMOS (*yn cerdded yn ddiflas oddiwrth y ffenestr*): Lecsiwn, efallai, yw lecsiwn; ond hwy yw pethau butra'r wlad. Meddyliwch am lot o rapscalions fel yna yn taflu dirmyg ar ddyn fel Harri, a rhyw bum mlynedd yn ôl yr un criw oedd ucha'u cloch yn ei ffafr—y cnafon brwnt.

OLIFER (*yn dod o'r ffenestr a* MYRDDIN *ar ei ôl*): Rwan y pwnc ydyw—fedrwn ni'n tri stopio Meredith rhag mynd i'r balconi yna i areithio?

MYRDDIN (*yn ddiobaith*): Drwy orfodaeth efallai, ond thâl hynny ddim.

SYR TOMOS: Pe gwyddwn i sicrwydd fod Harri'n debyg o gael niwed oddiwrth y taclau yna, mi logwn ddwsin o blismyn ar fy nghost fy hun.

MYRDDIN (*yn ddiamynedd*): Beth ym ni well o lolian siarad fel hyn? Os na fedrwn ni gario perswâd arno, does dim ffordd arall am dani.

OLIFER (*yn ffromi*): Pa berswâd allwn ni ei gario arno a ninnau'n perthyn i'r blaid sy'n sgrechian y tuallan. (*Yn mynd eto at y ffenestr.*)

SYR TOMOS (*yn berwi*): Aed y blaid i'w chrogi o'm rhan i. Mi ŵyr Harri, 'r penci dwl, nad oes gan yr un ohonom ddim yn ei erbyn o ond yn erbyn ei syniadau eithafol. Oes yna blismyn i'w gweld yn y *crowd* yna?

OLIFER: Rhyw dri neu bedwar: hwyrach bod rhagor o'r golwg.

SYR TOMOS (*yn ddigalon*): Wel wir, maent hwythau ymhob man ond lle bo'u heisiau.

OLIFER: Dowch yma, Myrddin. (MYRDDIN *wrth ei ochr yn y ffenestr.*) Welwch chwi'r *gang roughs* yna yn y canol?

MYRDDIN: Gwelaf. Dyna wŷr Somerset a Wiltshire. Fe wnant unpeth am gwrw.

SYR TOMOS: Mi fentra fod yna Gymry mor sychedig a hwythau yn eu mysg ond thâl hi ddim i ddweyd hynny yn Hen Wlad y Menyg Gwynion.

MYRDDIN: Mae'r lot yna'n mynd i godi row am fod Meredith mor stiff yn erbyn y Fasnach.

SYR TOMOS: Myn gafr, rhwng gwŷr y cwrw a gwŷr y rhyfel a Chymry bach cul mae Harri wedi codi nyth cacwn yn ei ben. (*Daw landlord yr Hotel i mewn yn gynhyrfus.*)

LANDLORD: Mae'r pen plisman newydd fod yma'n fy warnio y bydd y ffenestri'n ddarnau os yw Mr. Meredith yn mynd i siarad o'r balconi yna: pryd y bydd yn cyrraedd?

OLIFER: Mae i siarad yma am chwech.

LANDLORD: Mae hi o fewn ychydig funudau i chwech. Rwan, foneddigion, rwy'n deall eich bod yma i'w berswadio i beido â siarad—ond mae'n rhaid ei orfodi i beidio, neu ynteu does wybod beth ddigwydd. (*Yn mynd allan.*)

SYR TOMOS (*yn llon*): Da iawn, dyna help arall i ni gyda'r *job*. (*Yn ddig.*) Ond mae'r llo yna'n meddwl mwy am ffenestri ei hotel nag am berygl Harri. (*Yn edrych ar ei watch.*) Deng munud eto! Gobeithio'r nefoedd fawr y tyr ei gerbyd i lawr cyn cyrraedd.

MYRDDIN: Sgwn i ddaw o? Fe ŵyr am y perygl gystal a neb.

SYR TOMOS (*yn tanio*): O ddyn sy'n galw'i hun yn gall, chwi yw'r ffŵl mwyaf y gwn am dano. Harri yn mynd i droi yn llwfr am fod yr helgwn yma'n cyfarth y tuallan! Byth; rwy'n ei nabod yn rhy dda. (*Yn drist.*) Gwae fi erioed ei nabod. (*Yn cerdded o amgylch yn anniddig, a'r landlord yn y drws.*)

LANDLORD: Hanner munud, Syr Tomos. (*A'r* SYR *allan.*)

MYRDDIN: Sgwn i beth sydd ar droed rwan? Mae'r hen Syr yn waeth ei hwyl nag y gwelais o erioed.

OLIFER: Meredith yw cannwyll ei lygad er cymaint mae o'n rhegi arno.

MYRDDIN (*yn fywiog*): Olifer, mae gennyf gynllun: fe af allan i'r balconi i ofyn am chware teg i Meredith, achos pobl ein plaid ni ydynt y rhan fwyaf.

SYR TOMOS (*yn dod i mewn yn llon*): Mae hi'n goleuo arnom, mae Mabli newydd ddod i'r Hotel.

OLIFER: Beth yw ei neges?

SYR TOMOS: Mae hi'n gwybod, druan, am y perygl. Myn brain! rhyngom ein tri a'r mul landlord yna a Mabli fe wnawn y *job*. (*Yn edrych ar ei watch.*) Mae hi'n tynnu'n dyn am chwech.

MYRDDIN: A yw Mabli'n dôd i mewn yma?

SYR TOMOS: Na, rwy'n ei chadw fel y *last reserve*. Os methwn ni'n tri fe lwydda Mabli. Sut olwg sydd ar bethau'r tuallan yna?

OLIFER (*yn y ffenestr*): Golwg anesmwyth. (*Yn dal i graffu.*) Grym annwyl! Dacw'i gerbyd wedi cyrraedd. (*Y tri yn y ffenestr.*) Wel, tawn i byth yn symud, mae'r hen wraig hefo fo!

SYR TOMOS (*yn gyffrous*): Pwy hen wraig?

OLIFER (*yn syn*): Ei fam—Janet.

SYR THOMOS (*yn chwibanu'n ddigalon*): Wel a'm sgubo, dyma hi ar ben. Os yw'r hen Janet ar y *job*, mae hi wedi canu arnom.

MYRDDIN: Be wnawn ni rwan?

SYR TOMOS (*yn ddig yn ei siom*): Pam felltith y gofynnwch i mi? Be wn i beth i'w wneud? Roedd hi'n ddigon tywyll o'r blaen, ond os yw Janet wedi dod i ddal ei freichiau——. Ydych chwi'n siwr mai hi welsoch chwi, Olifer?

OLIFER: Hollol siwr.

SYR TOMOS: Mae arnaf fwy o ofn Janet na neb—mam i lewod a llewpartiaid ddylsai hi fod. (*Y tri'n edrych dipyn yn ofnus at y drws fel pe'n gwrando am sŵn troed, a* JANET *yn dod i mewn yn hunan-feddiannol.*)

JANET (*yn oeraidd*): Hylo! Pwy fuasai'n disgwyl eich gweld chwi'ch tri yn y fan hon? Onid yn y gorlan arall mae'ch lle chwi, bugeiliaid y defaid sy'n brefu'r tuallan?

SYR TOMOS: Rydym yma fel hen gyfeillion i Harri i geisio'i berswadio i beidio ag annerch y dorf.

JANET (*yn ysgornllyd*): Hawyr bach! Chwi'n gyfeillion iddo?

MYRDDIN: Pam lai? Nid yw'r ffaith ein bod yn anghydweld â fo ddim yn ein gwneud ronyn yn llai o gyfeillion iddo.

JANET : Mr. Myrddin Huws, oes gennych chwi'r wyneb i alw'ch hun yn gyfaill i Harri ar ôl lluchio'r holl inc arno? a chwithau, Mr. Olifer, chwi sy'n was bach i wŷr mawr y llywodraeth; a Syr Tomos hefyd sy'n chwerthin am ben y da a'r drwg, yn credu dim ac yn coelio popeth! Rhad ar y fath gyfeillion.

SYR TOMOS (*yn ddig*) : Welwch chwi, Janet Meredith, mae hi'n beryglus i Harri siarad ar y balconi yna heno.

JANET : Ac yr ydych chwi'ch tri yn fwy pryderus yn ei gylch na fi, ei fam, fu'n bwyta bara sych droeon er mwyn rhoi ysgol iddo?

SYR TOMOS (*yn colli ei dymer*) : Waeth gen i be ddaru chwi fwyta, ond mi fwytewch damaid chwerwach nag erioed os na rowch help i mi rwystro Harri i annerch y dorf.

JANET (*yn dosturiol*) : Druan ohonoch, eich tri; mae ofn tost am eich crwyn arnoch.

SYR TOMOS (*yn gweiddi'n ddig*) : Croen Harri, ddynes, yw'r pwnc rwan. (HARRI'*n dod i mewn a'r landlord ar ei ôl.*)

HARRI (*gyda ffug-syndod*) : Wel, wel, cynt y cwrdd——. Pam mae'r tri gwron o'r gwersyll arall yn y gaer hon?

LANDLORD : Rwan, Mr. Meredith, unwaith eto, nid oes amser i'w golli; rwy'n dweyd nad oes dim siarad i fod o'r balconi nac o unrhyw ran arall o'r ty.

HARRI: Pam?

LANDLORD: Am nad oes wybod beth all ddigwydd os dangoswch eich hun yn y ffenestr yna; mae yna *roughs* yn y *crowd*.

HARRI: Mae gennyf gytundeb â chwi mewn ysgrifen sy'n rhoi hawl yr ystafell yma i mi o chwech tan saith.

LANDLORD (*yn ddig*): Beth wyddwn i wrth wneud y cytundeb y buasai cyflwr pethau fel y mae?

HARRI (*yn dawel*): Y fi a bia'r ystafell am yr awr nesaf. Dichon y bydd yma weiddi a sŵn, ond dyna'r cwbl.

LANDLORD: Rwy'n dweyd wrthych y bydd yma fwy na hynny, ac fe· fyddwch yn gyfrifol am unrhyw niwed a ddigwydd, ac os gallaf, mynnaf gan y plismyn roi pen arnoch chwi a'ch cyfarfod. (*A allan.*)

HARRI (*yn gellweirus*): Chwi fydd yn reportio f'araith, Myrddin?

MYRDDIN: Rwan, mae pethau yn rhy enbyd i gellwair: rym yma'n tri fel hen gyfeillion, er yn anghydweld â chwi, i geisio cael gennych i beidio â siarad o'r balconi yna: fe wyddom am y perygl i'r *crowd* droi'n wyllt.

HARRI: Pwy sy'n gwneud *mob* o bob *crowd* mewn lecsiwn? Chwi, Myrddin, a gwasg y blaid sydd y tucefn i chwi. Yr ydych wedi codi drwg-deimlad yn f'erbyn yma a thrwy Gymru. Pam?

Am nad wy'n delio â shiboleth eich politics—gêm o eiddo'r bobl fawr yn y Senedd yw'r cwbl, a gwae'r sawl fel fi a geisio dorri ar y gêm drwy fod o ddifri.

MYRDDIN (*yn ddig*): Deuthum yma ar gais Syr Tomos ac mae nghydwybod yn rhydd. Olifer, waeth i ni fynd ein dau: a chwithau, Syr Tomos?

SYR TOMOS: Rwyf am aros. (*A* MYRDDIN *ac* OLIFER *allan.*)

HARRI (*edrych ar ei watch*): Mae hi'n bryd i mi fynd i'r balconi.

SYR TOMOS (*yn erfyniol*): Harri, er mwyn yr hen gydnabyddiaeth sy rhyngom ni'n dau, paid â mynd.

HARRI (*yn rhywiog*): Rwy'n synnu atoch chwi o bawb, Syr Tomos; wyddwn i ddim fod y fath beth a *nerves* gennych. (*Yn cychwyn at y balconi.*)

SYR TOMOS (*yn ei atal*): Un cais, Harri—nid er fy mwyn i ond er mwyn Mabli.

HARRI (*mewn syndod*): A yw Mabli yma? (*A* SYR TOMOS *allan.*)

JANET (*yn goeglyd*): Sut y medrodd ei mam ei spario?

HARRI: Welwch chwi, Mam—dim gair am Nan.

JANET: Wel, faddeua i byth iddi am d'adael.

HARRI: Ddeallwch chwi a finnau byth mo'n gilydd ar y pwnc yna. (*Daw* MABLI *a'r* SYR *i mewn.*) Mabli bach, beth ddaeth â thi yma?

MABLI (*â'i dwylo ar ei ysgwydd*): Mae pawb yn dweyd bod perygl i chwi siarad heno, ac yr wyf am i chwi beidio er fy mwyn i.

HARRI (*yn gellweirus, dan gydio yn ei dwylo*): Llawer gwaith y buom ni'n chware pwy oedd y cryfa: fi yw'r cryfa heno. (*Yn ei gollwng yn rhydd.*) Does dim i'w ofni, ond cofia aros tan y diwedd am sgwrs fach. (*Yn cychwyn eto at y ffenestr a'r* SYR *yn neidio rhyngddo a hi.*)

SYR TOMOS: Fe ddof i'r balconi hefo ti.

HARRI (*yn bendant*): Na ddowch: thâl hi ddim iddynt feddwl bod eu hofn arnaf. (*Yn mynd at y ffenestr.*)

SYR TOMOS (*wedi colli ei dymer yn lân yn gweiddi dan bwyntio ato*): Dos at dy Werin! Ti yw ffŵl mawr y Cenhedloedd!

HARRI (*yn troi ato wrth agor y ffenestr tan wenu*): Gwell hynny na bod yn ffŵl bach Cymru. (*A drwy'r French Window i'r balconi, ond gwelir ei gefn gan yr edrychwyr; ac ar unwaith clywir gweiddi'r dorf yn ei erbyn.*)

JANET (*yn codi o'i heistedd*): Dyna'r cŵn yn dechreu udo. (*Yn feistrolgar.*) Rwan, Mabli, mae'n well iti fynd i lawr i ryw ystafell arall.

MABLI (*yn dawel*): Na, rwy'n mynd i aros yma tan y diwedd.

JANET (*gydag awdurdod*): Rwy'n dweyd mai nid yma mae dy le.

MABLI: Waeth hynny na mwy, yma yr wyf am aros.

JANET (*dan graffu arni*): O wel, mae brid dy dad ynot tithau. (*Clyw y gweiddi eto ac edrych at y ffenestr.*) Sgwn i a oes perygl? (*A at y ffenestr a saif ynddi y tu ôl i* HARRI. *Yr eiliad nesaf clywir udo'r dorf yn uwch, ac yn sydyn gwelir* JANET *â'i dwylo o gylch* HARRI *fel pe'n ei gynnal rhag cwympo.*)

JANET (*yn gyffrous*): Help! Syr Tomos, help! Mae gwaed ar 'i wyneb o.

SYR TOMOS: Doctor mewn munud, Mabli. (*Rhuthra* MABLI *allan a'r* SYR *at y ffenestr i helpu* JANET *i gynnal* HARRI *rhag syrthio, a daw'r llen i lawr yn gyflym.*)

DIWEDD ACT III.

## ACT IV.

[*Ystafell mewn " Nursing Home " a'r* MATRON (*oddeutu hanner cant oed*) *yn trefnu clwm o floden yn fân glymau yma ac acw yn yr ystafell a* MEREDITH *yn eistedd â spectol dywyll ar ei lygaid. Y mae tua chwe mis rhwng Act III ac Act IV.*]

HARRI: Mi wn beth yw un blodyn sy gennych oddiwrth ei arogl.

MATRON: Mae gennyf wahanol fathau yma.

HARRI: Mae gennych sprigyn o ddraenen wen yn eu canol.

MATRON: Sut y gwyddoch chwi?

HARRI: Rwy'n nabod ei harogl er yn blentyn.

MATRON: Peth anlwcus yn ôl rhai yw draenen wen mewn ty.

HARRI: Gresyn yw torri caritor blodyn mor ddel: mi garwn gael y sprigyn yna.

MATRON: O'r goreu. (*Yn ei roi yn ei law.*)

HARRI (*yn ei roi yn nhwll botwm ei gôt*): Peth od yw arogl blodyn i ddeffro hen atgofion.

MATRON: Ie.

HARRI: Fe aeth hwn â fi'n ôl i Ogledd Cymru, ac yn ôl i dymor mebyd, a hynny mewn amrantiad.

MATRON: A garech chwi fod yn fachgen ysgol eto?

HARRI: Wn i ddim am hynny, ond am ennyd rwan, drwy ffenestr y blodyn yma, mi welais—— (*yn petruso.*)

MATRON: Wel?

HARRI: Mi welais rhyw hen gae wrth fy nghartref oedd â'i berthi'n frith o ddrain gwynion. (*Ar ôl ennyd.*) Sgwn i a wela i nhw eto?

MATRON: Rwy'n deall bod y Doctor yn mynd i roi ei farn i chwi heddiw.

HARRI: Ydi: mae wedi fy nghadw heb ddweyd tan y diwrnod ola: mae'n debyg bod yn gas ganddo dorri'r newydd y byddaf yn ddall.

MATRON: Na, na, peidiwch â mynd i gyfarfod â thrwbl.

HARRI: Beth bynnag yw'r ddedfryd, rhaid i mi ei chael heddiw cyn ymadael.

MATRON: Bydd yn chwith gennym yma ar eich ôl.

HARRI: Chwe mis mewn carchar tywyll du.

MATRON: Wel, dyna gompliment i'r *Nursing Home!*

HARRI: O ddifri, lle crand y cefais i o; ond, wedi'r cwbl, teg edrych tuag adre. Pryd y daw'r Doctor?

MATRON: Ewch allan i'r ffrynt i lygad haul: fe rof wybod i chwi pan ddêl.

HARRI (*yn codi*): O'r goreu. (*Y* MATRON *yn ei arwain gerfydd ei law at y drws.*)

MATRON: Peidiwch a mynd yn rhy bell.

HARRI: Does dim perygl i ddyn dall ei gwadnu hi ymhell iawn. O ïe, beth am y ffon? (*Y* MATRON *yn ei rhoi yn ei law.*)

Araf ydyw fy ngherddediad,
Teithio'n amlaf wrth fy nheimlad.

(*A allan, a'r* MATRON *yn gorffen trefnu'r blodeu, a daw'r* DOCTOR *i mewn o'r chwith.*)

MATRON: Mae newydd fynd allan.

DOCTOR: Da iawn, caf hamdden fer felly cyn torri'r newydd iddo.

MATRON: Mae'n debyg na ddaw byth i weld?

DOCTOR: Na ddaw byth.

MATRON: Mi gostiodd y lecsiwn yn ddrud iddo.

DOCTOR: Popeth braidd: collodd ei sedd a'i olwg: bu ei fam farw o dor calon, ei wraig yn ei adael ychydig cyn hynny, a'r dyfodol yn ddigon du. Hen fyd shabi ydi hwn.

MATRON: Wel, byd digon anodd i'w ddeall ydyw.

DOCTOR: Ydi o'n disgwyl y daw i weld rywdro?

MATRON: Gwyddoch sut yr ydym i gyd—dal i obeithio yn erbyn gobaith.

DOCTOR: Eitha gwir. A fu Mrs. Meredith yma ddoe neu heddiw?

MATRON: Ddim unwaith, ond mae'r ferch yma o hyd.

DOCTOR: Mi feddyliais y buasai Mrs. Meredith yma ddoe neu heddiw. Mae hi'n rhy falch i alw ac yntau yn rhy falch i ofyn iddi alw.

MATRON: Wyr hi y bydd o'n ddall?

DOCTOR: Fe ddwedais wrthi echdoe.

MATRON: Wel un stiff yw hi.

DOCTOR: Ac yntau mor stiff a hithau.

MATRON: I ble mae o'n mynd oddiyma?

DOCTOR: Wn i ar y ddaear: mae Syr Tomos yn cynnig ar bob cynllun i'w helpu, ond mae'n gweld drwy bob un, ac yn gwrthod yn bendant, a'r Syr yn rhegi fel pump o borthmyn. (HARRI *yn dod i mewn a'r* MATRON *yn ei arwain i'w gadair.*)

MATRON: Yr ydych wedi arbed siwrnai i mi: roedd y Doctor yn galw am danoch.

HARRI: Dyma fi, Doctor, yn disgwyl am y gair sydd naill ai'n mynd i nghrogi neu ngollwng yn rhydd.

DOCTOR: Hir yw pob aros. (*Yn amneidio ar y* MATRON *i fynd allan ac hithau'n mynd.*)

HARRI: Pe gallwn weld eich wyneb fe ddarllenwn yr ateb i fy nghwestiwn cyn ei ofyn.

DOCTOR: Rwan, Mr. Meredith, gwn fy mod yn delio â dyn cryf.

HARRI (*yn dawel*): Dyna'r ateb wedi ei roi.

DOCTOR: Ie, ofnaf mai dall fyddwch chwi.

HARRI (*ymhen ennyd*): Dall am f'oes?

DOCTOR: Ie.

HARRI (*ymhen ennyd arall*): Sgwn i prun yw'r golled drymaf—i ddyn gael ei eni'n ddall neu golli ei olwg fel fi ar ôl bod yn gweld.

DOCTOR: Yn wir fûm i erioed yn meddwl am y peth. Bron na ddywedwn mai colli'r golwg ar ôl bod yn gweld yw'r trymaf.

HARRI (*ar ôl ysbaid yn dweyd yn bwyllog*): Nage, fedr fy nallineb heddiw ddim dwyn oddiarnaf yr hyn welais gynt. Mi fydd popeth a welais ar y memrwn hyd byth, ac fe bery'r hen luniau ar y canfas tan y diwedd, ac yn fy mreuddwydion y nos byddaf yn gweld â'r ddau lygad a gollais. (*Yn estyn ei law a'r* DOCTOR *yn ei chymryd.*) Dydd da, Doctor, a diolch am bob gofal. (*Ymedy'r* DOCTOR *a deil* HARRI *i eistedd yn llonydd ac fel pe'n syllu'n syth o'i flaen. Daw* SYR TOMOS *i mewn yn y man.*)

SYR TOMOS: Wel Harri, rwy'n galw yn y *Nursing Home* yma cyn amled a phe bawn yn *specialist*.

HARRI (*yn siriol*): Fe ddwedsoch bedair blynedd yn ôl mai chwi oedd y *specialist* i agor fy llygaid i weld pethau fel y maent.

SYR TOMOS: O, rhyw dipyn o afiaith dadl oedd hynny. Gefaist ti sgwrs â'r Doctor?

HARRI: Do, sgwrs fer ond i'w hir gofio.

SYR TOMOS: Wel?

HARRI: Mi wyddoch y ddedfryd ers wythnosau ond eich bod yn ofni fy nigalonni: ond mi ddalia dan hon eto.

SYR TOMOS: Gwnei: fe rof y *credit* yna i ti.

HARRI: Pam rydych chwi'n credu hynny—a fuasech chwi'n dal dani?

SYR TOMOS: Ddim cweit cystal a thi. Gwenolen fach, wyddost, ydw i yn dilyn yr haf i bobman; ond am danat ti, rwyt ti fel y Robin Goch yn smartiach yn y gaeaf na'r haf.

HARRI (*dan chwerthin*):

I'r teg ros, y ty grisial,
I'r grug dewr y graig a dal.

SYR TOMOS: Mi rown *cheque* am ugain mil pe gallwn chwerthin fel yna yn dy gyflwr.

HARRI (*yn gellweirus*): Dall eich *cheques*, felly, ddim prynu popeth?

SYR TOMOS: Ychydig iawn o bethau ac o ddynion sydd na all fy *cheques* i eu prynu—ond i'r *cheques* fod yn ddigon mawr.

HARRI: Beth yw mhris i?

SYR TOMOS: Paid â lledu dy frest, pe gwyddwn ymha farchnad yr wyt tithau fe'th brynwn mor hawdd a neb.

HARRI: O ïe, wrth sôn am brynu fe ddwedodd Mabli ddoe fod rhyw dysteb ar droed i mi.

SYR TOMOS: Oes, ac un genedlaethol, rwy'n deall.

HARRI (*mewn ffug syndod*): Tysteb genedlaethol! Faint ohoni sy'n dod o'ch poced chwi?

SYR TOMOS: Ar fy marw, dim un geiniog: mae hon yn wir genedlaethol.

HARRI: Felly'n siwr, ffordd barchus y genedl i nghadw o'r Wyrcws. Na, ddaw hi ddim fel yna chwaith.

SYR TOMOS (*yn twymo*): Does gennyt ddim wrth dy gefn, a sut yr wyt yn mynd i ennill dy damaid ar ôl heddiw?

HARRI (*fel fflach*): Mi werthaf *oranges* a phenwaig cyn y cymeraf geiniog o'ch tysteb.

SYR TOMOS (*yn wyllt*): Rwyt ti cyn dloted ag iâr wedi bwrw'i phlu, ond yr wyt yn ymfalchïo mwy yn dy dlodi nag wyf fi yn fy nghyfoeth; mae hen stiffrwydd balch yn dy gancro.

HARRI (*dan chwerthin*): Pe gwelwn ymhle i'ch taro, fe'ch tarawn drwy'r pared yna: ond o ddifri, dim tysteb o fath yn y byd i mi.

SYR TOMOS: Pam?

HARRI: Rhyw fath o fonument parchus ar fy nghoffadwriaeth fyddai tysteb fel hon: "Yma dan y llwyth aur hwn y gorwedd ysbryd Harri Meredith hyd floedd yr utgorn diweddaf."

SYR TOMOS: Synnwn i ddim nad ti fydd yn chwythu hwnnw.

HARRI: Mi wn ei bod ar ben arnaf yn y Senedd ac mewn cylchoedd cyhoeddus, ond laddwch chwi byth mo'r pethau y bûm yn sefyll drostynt.

SYR TOMOS: Waeth i mi ddigio wrth y Deg Gorchymyn nag wrthyt tithau, ond yng ngwlad y Dwyrain y mae dy gartref, a d'oes yw'r oes gyntaf—*Anno Domini one*—a waeth i ti hynny na rhagor, mae hi'n *domino* bob ergyd heddiw ar ddaliadau fel 'r eiddot ti.

HARRI: Os chwi a'ch tebyg bia heddiw, fi a'm bath bia fory.

SYR TOMOS: Rwy'n fodlon i ti gael pob fory ond i mi gael pob heddiw, achos mae diwrnod mewn llaw yn well na dau yn y lloer. (*Daw* MABLI *i mewn.*) Hylo Mabli, sut mae'r hwyl?

MABLI: Diolch i chwi am y presant y bore yma ar ddydd fy mhen-blwydd. (*Y* SYR *yn amneidio arni i dewi.*)

HARRI: Ydi hi'n ddydd dy ben-blwydd heddiw? Wir ddyn, rwy'n mynd yn rhy *selfish* i gofio am neb na dim ond fy hunan. Pa bresant gefaist ti gan Syr Tomos? (*Y* SYR *o hyd yn arwyddo'i anghymeradwyaeth.*)

MABLI (*yn rhoi tlws aur ar lun croes wrth gadwyn yn ei law*): Nid yw Syr Tomos yn fodlon i mi ei ddangos.

HARRI (*yn ei deimlo â'i ddwylo*): Croes wrth gadwyn. (*Yn ei siglo'n araf fel pendil wrth y*

*gadwyn ac yn dweyd dan wenu.)* Syr Tomos, welwch chwi hon? Fi a'm bath bia fory a thrennydd.

SYR TOMOS: Mabli bach, rho dipyn o sens ym mhen dy dad: pe bawn i'n dangos fy nghyfoeth o hyd, pe bai sglaig yn dangos ei ddysg o hyd, gelwid ni'n *vulgar*; tybed nad yw hi'n llawn mor *vulgar* i dy dad ddangos o hyd gymaint gwell ydi o na fi ac eraill. Gwna iddo gymryd *holiday* hir oddiwrth ei gydwybod. Da boch.

HARRI: A chwithau, Syr Tomos. (*A'r* SYR *allan.*) Dyma dy gadwyn, Mabli.

MABLI (*ar ei gliniau wrth ei draed*): Oeddych chwi ddim yn cofio bod heddiw yn ddydd pen fy mlwydd?

HARRI: Na, mae'n ddrwg gennyf.

MABLI: O wel, roedd gennych bethau pwysicach i'w cofio.

HARRI: Rwyt ti wedi mynd yn ferch ifanc y chwe mis diweddaf heb i mi sylwi.

MABLI (*ymhen ennyd*): Nhad!

HARRI: Ie.

MABLI: Nid ydych wedi gofyn ddim unwaith am fy Mam ar hyd y chwe mis.

HARRI (*ymhen tipyn*): Naddo.

MABLI: Pam?

HARRI: Chlywais i mohonot tithau chwaith yn sôn am dani.

MABLI: Yr oeddwn ar fin gwneud hynny bob dydd, ond——(*yn petruso.*)

HARRI: Wel?

MABLI: Tipyn o ofn oedd arnaf.

HARRI: Fu dy fam ddim yn fy ngweld er pan wyf yma.

MABLI: Wyddai hithau ddim a oedd croeso.

HARRI: Chlywais i gan neb chwaith ei bod yn holi dim yn fy nghylch.

MABLI: Does neb ond fi ŵyr hynny.

HARRI: Efallai.

MABLI: Ie, fi ŵyr oreu am dani'r misoedd diweddaf.

HARRI (*ymhen ennyd*): Nid wyf mor ddall na wela i d'amcan.

MABLI: A yw maddeu mor galed gwaith? (*Dim ateb.*) Daliwch hon unwaith eto yn eich dwylo. (*Yn rhoi'r groes yn ei law.*)

HARRI: Yr oen yn dysgu'r ddafad bori.

MABLI: Na, chwi nysgodd i'n eneth fach i ddweyd ar eich ôl "fel y maddeuwn ninnau." Heblaw hynny dyma ddydd pen fy mlwydd a dylwn gael fy nymuniad yn rhodd gennych. (*Daw* NAN *i sefyll yn y drws tra bo* MABLI *yn siarad, ac ar ôl iddi orffen, rhywbeth yn y distawrwydd yn peri i* HARRI *droi ei wyneb at y drws.*)

HARRI: Mabli, oes yma rywun arall yma heblaw ni'n dau?

MABLI (*yn bryderus*): Mae Mam yn sefyll yn y drws. (*Ychydig o ddistawrwydd a'r tri yn llonydd yn yr unfan; yna cyfyd* HARRI *gan ymbalfalu at y drws:* MABLI *a* NAN *yn bryderus rhag ofn nad oedd am gymodi.*)

HARRI (*â'i law ar ysgwydd* NAN): Nan, rydym yn deall ein gilydd bellach heb ddim sbonio. (*Yn ei harwain at* MABLI.) Ond y mae merch yn rhywle y fan yma sy'n ddoethach na'i thad.

NAN: O Harri, mae hi'n llawer doethach na'i mam hefyd.

LLEN.

DIWEDD.

# NEW LIST OF PLAYS AND DRAMAS

## IN ENGLISH AND WELSH.

39. THE FOUR-LEAVED CLOVER. (*Betty Eynon Davies.*)
40. Y FAM. (*Betty Eynon Davies and Kate Roberts.*)
42. SANTA CLOS. (*Megfam.*)
43. "TWCO 'FALAU." (*Megfam.*)
44. CANU CAROLAU. (*Megfam.*)
45. PEN-BLWYDD MEGAN. (*Megfam.*)
46. MERCHED Y MWMBWLS. (*Megfam.*)
47. THE RETURN. (*M. J. Lewis-James.*)
48. ALBERT'S WAY OUT. (*Muriel S. M. Evans.*)
49. Y TRYSOR CUDD. (*D. Lloyd Jenkins.*)
50. IOLO. (*John D. Lewis.*)
51. BRANWEN. (*D. T. Davies.*)
52. GWAED YR UCHELWYR. (*Saunders Lewis.*)
53. Y DDRAENEN WEN. (*R. G. Berry.*)
54. THE CROWNING OF PEACE (CORONI HEDDWCH). (*J. O. Francis.*)
55. OWAIN GWYNEDD. (*D. R. Jones.*)
56. THE DARK LITTLE PEOPLE. (*J. O. Francis.*) (*See No. 63.*)
57. Y DIEITHRYN. (*D. T. Davies.*)
59. CROSS CURRENTS. (*J. O. Francis.*) Welsh version, "Gwyntoedd Croesion," by Silyn Roberts.
62. GWYNTOEDD CROESION. (*J. O. Francis.*) Welsh translation of "Cross Currents" by R. Silyn Roberts.
63. Y BOBL FACH DDU. (*J. O. Francis.*) Welsh translation of "The Dark Little People," by John Hughes.
64. ANRHYDEDD. (*T. Gwynn Jones.*)
65. DWYWAITH YN BLENTYN. (*R. G. Berry.*)
66. TAIR DRAMA FER. (*J. E. Parry.*)
67. YR HEN GYBYDD. (*J. Lloyd Jones.*)
72. "TWYLLO HEN LWYNOG." (*J. Ellis Williams.*)
73. ABERTHAU PLANT. (*Jason Thomas.*)
74. TROI'R TIR. (*D. T. Davies.*)
75. FAUST. (*Goethe.*) (Translated by T. Gwynn Jones.)
76. Y CYBYDD. (*Moliere.*) (Translated by I. L. Evans.)
77. TODDI'R IA. (*Idwal Jones.*)
79. Y FFON DAFL. (*J. Ellis Williams.*)

*Copies and Licences for Public Performance should be obtained from and Manuscripts submitted to*

# The Educational Publishing Co., Ltd., Trade Street, Cardiff.

**Sole Agents in Wales for Messrs. Samuel French, Ltd.**